# LAMPAU Y DEML:

SEF,

DEG AR HUGAIN

O

# BREGETHAU,

GAN

WEINIDOGION O WAHANOL ENWADAU,

YN BENAF METHODISTIAID CALFINAIDD.

AIL GYFRES.

CYHOEDDWYD GAN
DAVID WILLIAMS, HEOL Y LLYN, CAERNARFON.

MDCCCLX.

# CYNNWYSIAD.

# RHAGYMADRODD.

---

HYFRYDWCH nid bychan yw i mi gael y fraint o gyflwyno i sylw fy nghydwladwyr hynaws yr AIL GYFRES—a'r ddiweddaf—o Bregethau, ar ol rhai misoedd o drafferth, a phryder meddwl, yn eu casglu ynghyd.

Y mae y derbyniad calonog a roddwyd i'r Gyfres Gyntaf, a'r darlleniad helaeth a chyffredinol a fu ac sydd arni, yn peri i mi gredu na bu fy llafur yn ofer. Hoffus yw genyf ddeall iddi fod yn foddion i ymlid ymaith brudd-der, a dwyn sirioldeb i lawer o ystafelloedd cystudd; yn foddion hefyd i adnewyddu a chadarnhâu saint y Goruchaf, a gwasgar goleuni i gynteddau teml Dduw; ac nid wyf heb obeithio iddi fod yn foddion, mewn rhai amgylchiadau, i gyffroi y difraw, a dwyn llawer un oedd yn "eistedd yn mro a chysgod angeu" i ganfod goleuni dysglaer "geiriau y bywyd tragywyddol." Yr wyf yn hyderu y bydd i ddarllenad y gyfrol hon hefyd, a myfyrdod ar y pethau mawrion a draddodir ynddi, fod yr un mor wasanaethgar i achos crefydd: y bydd iddi, yn y deml fawr ysbrydol, fod yn adlewyrchiadau grymus ac effeithiol o belydrau Haul cyfiawnder; ac, yn enwedig, y bydd yn offerynol er cyfodiad goleuni mawr i lawer o blant Duw yn nhywyllwch eu profedigaethau.

Diammeu fod cyflawnder ac amrywiaeth materion y gyfrol yn gyfryw ag i wneyd ei theilyngdod yn amlwg, a bydd yn sicr o fod yn ddymunol gan bob darllenydd ystyriol. Y mae yn cyffwrdd â llawer o egwyddorion mawrion y grefydd Gristionogol, mewn ffordd bur gymhwysiadol; ac y mae ei materion mor amrywiol, fel ag i'w gwneyd yn ddymunol i'r archwaeth ysbrydol, fel y mae amrywiaeth yr ardd yn peri boddhâd a difyrwch i'r llygad. Y mae ynddi laeth i'r gwan, a bwyd cryf i'r rhai ydynt wedi cynefino âg ef. Ynddi caiff yr ymofynydd pryderus am iachawdwriaeth fynegbost yn cyfeirio yn ddiogel a sicr at drefn Duw. Ni raid i'r ymchwilgar a'r dysgedig ychwaith droi ymaith yn siomedig; ac ni raid i'r coeth ei syniadau ond cymdeithasu dros ychydig amser â'r pregethau, na theimla ei hunan yn hapus a dedwydd yn eu cwmni. Gobeithiaf y bydd llawer, ar ol darllen y pregethau hyn, yn gallu dyweyd fel y dywedodd Israel gynt am y Canaaneaid, "*Bara* i ni ydynt;" ac na byddant i'r teithiwr blin tua'r Gaersalem nefol, fel y dywedir fod y fagien *(glow-worm)* wedi bod i

lawer teithiwr tlawd yn y nos—sef yn foddion, trwy ei goleuni twyllodrus, i'w arwain i gorsydd a lleoedd peryglus i golli ei fywyd,—ond y byddant yn hytrach fel y golofn gynt i Israel, yn llewyrch ac yn amddiffyniad rhag llawer perygl.

Fel gyda'r gyfrol flaenorol, felly gyda hon, mae yn llawen genyf draethu yr hyfrydwch yr wyf yn ei deimlo wrth weled awydd lliaws o forwyr am eu meddiannu. Gobeithio y byddant yn foddion iachawdwriaeth, ac yn gysur mawr, a chymdeithion cydnaws, i laweroedd o'r "rhai a ddisgynant mewn llongau i'r môr, gan wneuthur eu gorchwyl mewn dyfroedd mawrion." Pwy a ŵyr nad allai hyn fod yn offerynol i weini cynnorthwy i'r ymdrechion lliosog hyny a wneir i droi at eglwys Dduw "lïosogrwydd y môr?" Bydded felly, yw gwir ddymuniad fy nghalon.

Am drefniad y gyfrol, gellir dyweyd na ddilynwyd un drefn benodol yn ngosodiad y pregethau, ond yn unig eu rhoddi i mewn fel y deuent i law. Fe allai eu bod yn llawer gwell felly na phed ymdrechasid eu trefnu wrth ryw ddosbarthiad penodol. Ymdrechwyd, hyd y gellid, am gywirdeb ac unoliaeth mewn orgraff, ynghyd a manylrwydd mewn gwahan-nodiad; ar yr un pryd ni newidiwyd gair nac ymadrodd, ac ni ddyfethwyd arddull yr awduron, mewn un amgylchiad. Gwnaed ymgais hefyd i wneyd cyfiawnder â'r ddwy Dalaeth—Dê a Gwynedd, trwy gael nifer lled gyfartal o bregethau o'r naill a'r llall. Am yr awduron, nid rhaid dyweyd gair, gan eu bod oll yn eithaf adnabyddus; ond gellir awgrymu i mi osod dwy bregeth i mewn gan rai ydynt wedi croesi y Werydd, mewn gobaith y byddai yn dda gan lïaws a'u hadwaenent yn eu hen wlad gael gweled ffrwyth eu myfyrdodau. Mae hefyd dri o'r awduron wedi eu cyfrif ymhlith y meirw, a diau y bydd yn dda gan filoedd a'u clywsant ddarllen eu pregethau godidog, tra yn wylofus am na chânt weled eu hwynebau na chlywed eu llais byth mwy; ac i'r rhai na chlywsant hwy yn llefaru, y mae eu pregethau yn ddigon o "lythyrau canmoliaeth."

Maddeued y llênorion i mi am fy hyfdra yn ymgymeryd â'r gwaith pleserus o gasglu y ddwy gyfrol werthfawr hyn ynghyd, a derbynied pawb a'm cynnorthwyasant fy niolchgarwch diffuant a gwresog am eu cefnogaeth galonog i mi, hyd yn nôd pan oedd llawer yn prophwydo, ar fy ngwaith yn anturio i'r tir, mai un yn difa ei breswylwyr ydoedd. Llawen fydd gan y rhai a'm cefnogasant glywed i mi ei deithio—trwy gryn ymdrech, mae'n wir—nid yn unig heb dderbyn niwed, ond wedi cael ychydig les.

D. W.

*Caernarfon,*
*Gorphenaf*, 1860.

# LAMPAU Y DEML.

---

## PREGETH I.

### MARWOLAETH IESU GRIST.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN ELIAS.*

"Crist yw yr Hwn a fu farw."—RHUFEINIAID viii. 34.

MARWOLAETH Crist ydyw y rhyfeddod mwyaf ag yr edrychodd dynion nac angelion arno erioed, nac yr edrychant arno ychwaith i dragywyddoldeb. Rhyfeddod y rhyfeddodau ydyw. Marwolaeth Crist yw sylfaen gobaith a chymeradwyaeth y saint. Buasai yn anmhosibl heddychu dyn â Duw heb y farwolaeth hon. Dyma yr unig ffordd a allasai Duw ei hun ei chael allan i ateb y dyben gogoneddus hwn; o ganlyniad, rhaid fod y testun yn wrthddrych rhyfeddu a mawrhâu i bob dyn sydd wedi adnabod ei gyflwr ei hun; a hyny heb ddarfod byth!

Dyben penaf Duw yn creu dyn oedd mynegi ei ogoniant ei hun drwyddo. "I'm gogoniant y lluniais ef;" ac ni allasai Efe gael ei siomi yn ei amcan anfeidrol bwysig. "Cynghor yr Arglwydd a saif, a'i holl ewyllys a wna." Darfu i ddyn, drwy ei bechod, wrthwynebu Duw, yn lle

* Traddododd Mr. Elias y bregeth hon yn Nghymanfa y Pasc yn Llundain, tua deugain mlynedd yn ol; ac ysgrifenwyd hi wrth ei gwrando gan y Parch. RICHARD OWEN o'r dref hon (Caernarfon), yr hwn oedd ar y pryd yn efrydu yn Athrofa Cheshunt. Bu Mr. Owen farw yma tua 37 o flynyddoedd yn ol. Yr oedd efe yn ŵr ieuanc hynod ddichlynaidd, a'i dduwioldeb yn amlwg iawn. Cafwyd yn ddiweddar y bregeth hon, ynghyd ag amryw eraill, yn ei ddyddlyfr, yr hwn oedd yn meddiant ei deulu. Gwrandäwyd y bregeth hefyd gan y Parch. RICHARD PARRY *(Gwalchmai)*, yr hwn yn garedig a'i parotôdd hi yn bresennol i'r wasg am y waith gyntaf.—CYHOEDDWR.

ei ogoneddu; ac felly aeth yn elyn iddo, ac yn ôl am ei ogoniant. Yr oedd Duw yn dueddol, ac yn rhwym, oddiar uniondeb a sancteiddrwydd ei natur, i amddiffyn ei gyfiawnder, ei ogoniant, a'i lywodraeth, yn ngwyneb gwrthryfel dyn. Yr oedd y Duw mawr yn rhwym i gosbi pechod, oddiar gyfiawnder ei natur ei hun; ac yr oedd, oddiar sancteiddrwydd ei natur, yn rhwym o'i gasâu. Gan hyny, y mae dan rwymedigaeth i'w gosbi mewn ffordd addas i'w fawredd ei hun, a drygioni pechod. Y mae pechod yn anfeidrol ddrwg, fel y mae yn taro yn erbyn Duw anfeidrol; o ganlyniad, rhaid fod y gosb hono yn anfeidrol. Nis gall dyn meidrol ddyoddef cosbedigaeth anfeidrol, ac oblegid hyny, yr oedd yn rhaid iddo ddyoddef yn dragywyddol. Yn awr, ni a ganfyddwn yma y rheswm paham y mae marwolaeth Crist yn destun mor rhyfeddol. Yr oedd yn anmhosibl cadw pechadur heb i Grist ddyoddef. Yr oedd raid i Berson anfeidrol ddyoddef dros y dyn meidrol, os byddai i'r troseddwr gael ei arbed.

Yn awr, gan hyny, troaf i edrych ar y rhyfeddod mawr hwn, mewn modd neillduol. Rhodded yr Arglwydd ei oleuni ar y gwirionedd, ac ysbryd i lefaru a gwrando megys geiriau Duw, fel y delo gogoniant yr olygfa yn briodol i afael â'n calon!

Amcanaf lefaru ar bump neu chwech o bethau neillduol ar y testun, trwy gymhorth yr Arglwydd. "*Crist yw yr Hwn a fu farw.*" Nodwn y pethau canlynol, fel defnydd o athrawiaeth.

I. Pwy a fu farw?

II. Y modd, neu y posiblrwydd, i Grist farw.

III. Ymofynwn yn lle pwy y bu Efe farw?

IV. Natur ei farwolaeth—mai fel aberth y bu Efe farw.

V. Yr achos o ba herwydd y bu farw. Nid heb achos y bu Crist farw.

VI. Dybenion ei farwolaeth.

I. Y sylw cyntaf a wnawn a fydd ar farwolaeth y Person a enwir. "Crist yw yr Hwn a fu farw." Pwy a fu farw? Mab Duw—Arglwydd y gogoniant—Tywysog y bywyd! Y mae lliaws o ymadroddion yn gosod allan yr un gwirionedd, drwy y gair. "Ein Harglwydd ni"—"marwolaeth yr Arglwydd"—"corff yr Arglwydd"—"gwaed

yr Arglwydd"—"priod waed Duw." Y mae yr Ysbryd Glân fel pe byddai am ragachub y posiblrwydd o gael ei gamddeall gan neb am y gwirionedd sylfaenol hwn yn y grefydd Gristionogol.

II. Y MODD, NEU Y POSIBLRWYDD, I GRIST FARW. Gan fod y fath enwau ag a grybwyllwyd yn cael eu rhoddi arno, ymddengys, ar yr olwg gyntaf, nas gallasai farw—fod yn anmhosibl i'r fath Berson byth brofi marwolaeth! Y mae hyn fel yn ymddangos i'n meddwl, wrth ystyried yn gyntaf *ei fod yn Dduw*, ac wrth ystyried yn ail *ei burdeb fel dyn*. Cymhwysir pob priodoledd sydd yn Nuw i Grist—"Duw a ymddangosodd yn y cnawd!" O mor ofnadwy a fydd ei gyfarfod yn y farn, i'r rhai a wadodd ei Dduwdod! Nid oedd bosibl i Dduw, fel y cyfryw, ddyoddef na marw. Os felly, pa fodd ynte y gallasai farw? Pe buasai Duw yn marw, buasai pobpeth yn syrthio ar unwaith i ddiddymdra. Aethai holl natur i ddyryswch yn ddioed; oblegid "ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll." A oedd Crist yn Dduw? Oedd. "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair." Priodolir gwaith pob un o'r ddwy natur yn Nghrist i *Grist;* ond ni phriodolir gwaith y naill i waith y llall, ar wahân, mwy nag y priodolir gwaith Duwdod i'r natur ddynol. Dywedir fod Crist wedi marw, ond ni ddywedir fod Duw wedi marw. Dywed yr Apostol, "Rhaid oedd bod gan Hwn yr hyn a offrymai." A oedd Crist yn bod cyn bod ganddo yr hyn a offrymai? Oedd, canys dywedir, "Aberth ac offrwm nis mynaist; corff a gymhwysaist i mi." Er mai natur ddynol a ddyoddefodd, natur ddynol y Duwdod ydoedd. Yr oedd y natur wedi ei chymhwyso iddo yn mru y wyryf. Natur ddynol Duw ydoedd, gan hyny. Ac oblegid hyn y dywedir i Dduw farw, ac y sonir am "ddyoddefgarwch Duw."

Y mae yr un gofyniad yn codi i'n meddwl eto, os ystyriwn *burdeb ei ddynoliaeth*. Pa fodd y gallasai dyn *glân* farw? Os cyflog pechod yw marwolaeth, pa fodd yr oedd y Dieuog yn marw? Byddai mor anhawdd lladd dyn glân a sanctaidd, ag a fyddai lladd Gabriel yr archangel! Yr oedd Crist yn berffaith sanctaidd yn ei Berson i gyd oll. Nid oedd pechod yn y Gwaredwr. "Ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." Ac os na all angeu ladd dyn dibechod, pa fodd ynte y gallasai

Crist farw? Wel, yn awr dyma yr atebiad i'r gofyniad pwysfawr yn dyfod ymlaen, "Yr Arglwydd a roddes arno Ef ein hanwireddau ni i gyd." "Cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno Ef, a thrwy ei gleisiau Ef yr iachäwyd ni." Ac ar ol i Grist dalu y ddyled, nid oedd modd gan angeu ei ddal na'i gadw yn gaeth dan rwymau y bedd yn hŵy, mwy na phe buasai heb gymeryd y ddyled arno erioed. "Gan ryddhâu gofidiau angeu, canys nid oedd bosibl ei attal Ef ganddo."

III. Yn lle eraill y bu Crist farw. "Y Messïah a leddir, ond nid o'i achos ei hun." Bu Crist farw *dros*, ac *yn lle*, pechadur. Nid marw er ei fwyn, ond marw yn ei le. Teimlai Dafydd duedd i farw yn lle Absalom, ond ni wnaeth, ac ni allasai; ond aeth Crist i le yr euog, a bu farw drosto, fel y gallai ef beidio a marw byth. Ar egwyddorion cyfiawnder, fel "llygad am lygad," felly caiff ef beidio a marw byth, gan i Grist farw yn ei le.

IV. Natur ei farwolaeth: yr oedd yn aberth. Nid yn ferthyr, sylwer, ond yn *aberth*. "Crist ein pasc ni a *aberthwyd* drosom." "Yr Hwn a'n carodd, ac a'i rhoddodd ei hun *drosom*." Wrth hyn yr oedd yn naturiol iddo farw dan ing oddiwrth soriant ei Dad. Yr oedd yr aberth hwn yn Iawn: "Hwn a osododd Duw yn Iawn." Yr oedd ei waed yn diffodd y llid. Yr oedd marwolaeth Crist felly yn ddigon yn ngwyneb pob peth oedd yn ofynol ar gyfer achubiaeth pechadur.

V. Dylem sylwi ymhellach ar yr achosion o'i farwolaeth. Ai yn ddiachos y bu Crist farw? Nage. Ni bu achos mwy i neb farw erioed. Beth oedd yr achos, gan hyny? "Hwn yn wir a ragordeiniwyd cyn sylfaenu'r byd." I farw y daeth Crist i'r byd. Yr oedd cybydd-dod Judas, a malais Pilat, a chynddaredd ei elynion, yn cyfarfod yn neillduol yn yr amgylchiad hwn. Y Tad a fynai ei ddryllio Ef. Ond os yn ddiachos y bu Crist farw, ni wnaeth Barnwr yr holl ddaear farn, pan oedd y cleddyf yn deffro i daro ei Fab. Beth ynte oedd yr achos? Gellir ei ganfod ond ystyried,—

*Cariad a gras Duw at bechaduriaid, a rhoddiad eu beiau yn erbyn Crist.* "Rhoddwyd pla arno am gamwedd fy mhobl." Gwelir yma fawredd digofaint Duw yn erbyn pechod. Os oedd pechadur i gael ei achub, yr oedd raid i Grist farw!

VI. Sylwn ymhellach ar Y DYBENION GOGONEDDUS OEDD YN CAEL EU HATEB YN Y DREFN RYFEDDOL HON. Gogoneddu holl briodoliaethau Duw yn iachawdwriaeth pechadur; agor ffordd gyfreithlawn ac anrhydeddus i ras a daioni Duw redeg at ddynion oedd wedi eu dinystrio eu hunain! Trefn i gynnyg bywyd i hunanleiddiaid! Yn awr, yn ngafael y drefn ogoneddus hon, gwêna cyfiawnder a sancteiddrwydd, wrth edrych ar ras yn myned â dynion, fel gwrthddrychau ei hymgeledd, adref i orphwysfa y nef. "Gwirionedd a dardda o'r ddaear, a chyfiawnder a edrych i lawr o'r nefoedd."

Yr athrawiaeth a'r addysg a welwn yma yn eglur ydyw, *fod trefn yr iachawdwriaeth yn sicr o ateb ei dybenion gogoneddus.* Os llwyddodd Crist, pan yr ydoedd yn y caledi dirfawr ar y ddaear, a oes rhywun a ammheua y metha Efe yn awr, wedi myned i'w orsedd yn y nef? "Canys os pan oeddym yn elynion y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef, mwy o lawer, wedi ein heddychu, ein hachubir trwy ei fywyd Ef." Llai peth yw cadw cyfaill yn gyfaill, nag ydyw heddychu gelyn. Y mae marwolaeth Crist yn foddion digon effeithiol i heddychu gelyn; gan hyny, pwy a ammheuai fynyd nad yw ei fywyd yn ddigonol i'w gadw yn gyfaill i barhâu! Bellach, bechaduriaid, ffowch yma am eich bywyd. Dyma le eich diogelwch. Dyma ddrws y noddfa ger eich bron. Ac am hyn, "yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw." Yr ydym wedi ein hawdurdodi i redeg ar frys i ganol tiriogaeth ei elynion, a dadblygu yno faner y groes, a chyhoeddi yr addewidion llawnaf am fywyd i'r penaf a'r gwaethaf a gredo yn ei enw; a phwy bynag a ddêl, nis bwrir ef allan ddim. Pwy sydd i gael ei arbed? y credadyn. "Crist yw yr Hwn a fu farw! Pwy yw yr hwn sydd yn damnio?" "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu:" y maent wedi eu symud o farwolaeth i fywyd! O bobl gadwedig gan yr Arglwydd!

# PREGETH II.

## ADGYFODIAD YR ARGLWYDD IESU.

## GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN JONES, PEN Y BRYN, WREXHAM.

**"A'r apostolion, trwy nerth mawr, a roddasant dystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu: a gras mawr oedd arnynt hwy oll."—Actau iv. 33.**

Nid rhyfedd fod nerth mawr yn cydfyned â'r dystiolaeth hon, a bod gras mawr hefyd ar y pregethwyr a'r gwrandäwyr; canys adgyfodiad yr Arglwydd ydyw careg sylfaen y grefydd Gristionogol; oblegid oni chyfodwyd Crist o feirw, ofer yw ein pregeth ni—ofer yw ein ffydd ni; cyfrgollwyd y rhai oll a hunasant yn Nghrist; ac o ganlyniad, ei ddysgyblion ef ydyw y truanaf o'r holl ddynion. Yr ydym yn canfod y gwirionedd hwn fel un o brif erthyglau yr Hen Destament a'r Newydd. Yr oedd saint yr Hen Destament yn edrych ymlaen, ac yn llygadu llawer, ar adgyfodiad yr Arglwydd Iesu o feirw; ac oddiar yr ystyriaethau o hyny, tynent ddwfr mewn llawenydd o ffynnonau yr iachawdwriaeth. Meddai Job: "Myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw." Meddai yr efengylaidd brophwyd Esaiah: "Dy feirw a fyddant byw; fel fy nghorff i yr adgyfodant." Meddai peraidd ganiedydd Israel: "Ni adewi fy enaid yn uffern." Ac meddai Pedr ar ddydd y Pentecost: "Ac efe yn brophwyd a lefarodd am adgyfodiad Crist, na adawyd ei enaid Ef yn uffern, ac nas gwelodd ei gnawd Ef lygredigaeth."

Yr oedd hefyd lawer o bethau a ellid edrych arnynt fel cysgodau a chyffelybiaethau o adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw; megys gwaredigaeth Isaac ar fynydd Moriah—rhyddhâd Joseph o'r carchar, a'i ddyrchafiad yn ganlynol i lŷs y brenin—ymadawiad Samson o Gaza, a phyrth y ddinas ar ei ysgwyddau—gwaredigaeth Daniel o ffau y llewod—ymwared Jonah o fòl y morfil—gollyngdod yr aderyn byw, yr hwn a drochid yn ngwaed y

llall; canys fel yr oedd yr aderyn a leddid yn cysgodi angeu Crist, felly hefyd yr oedd yr un a ddiangai yn cysgodi ei adgyfodiad o feirw. Gan hyny, wrth bregethu adgyfodiad Crist, nid ydym yn tystiolaethu dim yn amgen nag a ddywedodd y prophwydi a Moses y deuent i ben, sef "y dyoddefai Crist, ac y byddai Efe yn gyntaf o adgyfodiad y meirw."

Anrhydeddwyd yr apostolion â nerth mawr i draddodi yr athrawiaeth werthfawr hon, "a'r Arglwydd yn cydweithio ac yn cadarnhâu y gair trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn." Yn y drydedd bennod, cawn hanes am ryw wyrth ryfeddol ar ŵr cloff o groth ei fam, yr hwn a iachäwyd yn enw Iesu Grist o Nazareth—

"Yr enw mwyaf mawr
Erioed a glywyd son."

Ac wrth ei weled yn rhodio ac yn neidio, a'i glywed hefyd yn moli Duw, yr holl bobl yn frawychus a gydredodd at yr apostolion i borth Solomon. Ar hyny Pedr a agorodd ei enau, ac a bregethodd iddynt adgyfodiad yr Arglwydd Iesu o feirw, yr hyn a brofai fod y wyrth ryfeddol hono yn brawf ddarfod i Dduw ei gyfodi ef o'r bedd. "Tywysog y bywyd," meddai, "a laddasoch, yr Hwn hefyd a gyfododd Duw o feirw." Ar hyny cyfododd corwynt echryslawn o erlidigaeth arnynt. Ymddangosai yr offeiriaid a blaenor y deml, mewn undeb â'r Saducëaid, fel eu prif wrthwynebwyr. Elai y pleidiau hyn yn gyfeillion er mwyn eu dyfetha allan o'r byd. Yn flin ganddynt am eu bod "yn pregethu trwy yr Iesu yr adgyfodiad o feirw;" ac yn eu cynddaredd, rhoddasant hwy mewn dalfa, am air Duw, ac am dystiolaeth Iesu Grist. Boreu drannoeth, dygwyd hwy o flaen y cynghor. Yr oedd y dyn a iachesid yn sefyll yn eu hochr. Ac wedi eu holi trwy ba awdurdod y gwnaethent hyny, Pedr a agorodd ei enau gan ddywedyd, "Bydded hysbys i chwi, ac i bawb o bobl Israel, mai trwy enw Iesu Grist o Nazareth, yr hwn a groeshoeliasoch chwi, yr hwn a gyfododd Duw o feirw, trwy hwnw y mae hwn yn sefyll yn iach ger eich bron chwi." Ar hyny nid oedd ganddynt ddim i'w ddywedyd; canys yr oedd y dyn uwchlaw deugain oed, ar yr hwn y cyflawnwyd y weithred hon o iachawdwriaeth. Yn ganlynol gollyngwyd hwy yn rhydd rhag ofn y bobl, gyda bygythion nad ynganent air

yn enw Iesu o Nazareth mwyach. Yn y fan y maent yn cyflawni dau beth,—sef yn

1. Myned â'u hachos at Dduw—tywallt eu myfyrdodau o'i flaen Ef. Yn wir, porth pob anghenog ydyw Duw; cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder. "Ni ddywedodd erioed wrth had Jacob, Ceisiwch fi yn ofer." Ac wedi iddynt weddïo, siglwyd y fan lle yr oeddynt yn ymgynnull, a hwy oll a lanwyd o'r Ysbryd Glân.

2. Wedi bod gyda Duw, y maent yn myned at y bobl; a thrwy nerth mawr a ddygasant dystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu.

Yr oedd nerth ac awdurdod yn eu gweinidogaeth. Safont yn hyf, heb ofn na dychryn, gan ddywedyd, "Rhaid yw ufuddhâu i Dduw yn fwy nag i ddynion." Yr oedd nerth yn dilyn eu gweinidogaeth; y gwyrthiau rhyfeddaf yn cael eu cyflawni fel i gadarnhâu yr athrawiaeth werthfawr hon; a gras mawr oedd arnynt hwy oll—gras ar eu gwefusau, gras yn eu calonau. Cawsant ffafr gan yr holl bobl.

Cymerwn fantais oddiwrth yr ymadrodd hwn i alw sylw at adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw.

I. Ystyriwn yr athrawiaeth hon FEL HANES GWIRIONEDDOL A THRA RHYFEDD.

Y mae ein Bibl ni yn dysgu llawer o wersi pwysig iawn trwy hanesion. Felly y dysgir ni am gwymp dyn, am lygredigaeth plant dynion pan ddisgynodd y diluw ar y byd. Ond o bob hanes, dyma y rhyfeddaf, dyma y felusaf,—hanes yr Arglwydd Iesu; ac y mae y dystiolaeth am ei adgyfodiad yn gosod bri a mawredd ar bob tystiolaeth am dano. Wrth ystyried yr hanes pwysig hwn, yr ydym i gymeryd yn ganiatäol farw o Grist dros ein pechodau ni, yn ol yr Ysgrythyrau; a'i gladdu hefyd, yn ol yr Ysgrythyrau.

Bu farw ar ddiwedd y diwrnod mwyaf tymhestlog a fu erioed ar ein byd ni. Bu farw dan y dirmyg a'r gwarth mwyaf o holl feibion dynion. Bu farw, a'r ddeddf a gadwodd yn ddifrychau yn gwlawio ei melldithion arno. Bu farw, dan weddïo dros ei lofruddion, "O Dad! maddeu iddynt." Ië, ïe!—syned nefoedd!—bu farw o'i fodd! "Nid oes neb," meddai, "yn cymeryd fy einioes oddiarnaf, ond myfi sydd yn ei rhoddi i lawr o honof fy hun." Ond ni bu farw cyn gorphen ei waith; ni bu farw cyn llefain â llef uchel, "Gorphenwyd!" a'r

"Gair Gorphenwyd
Wnaeth i'r glorian bwysig droi."

Enaid! edrych ar y weledigaeth fawr hon—y Diniwed yn marw dros yr euog; y Cyfiawn yn marw dros yr anghyfiawn; y Glân yn rhoi ei einioes dros yr aflan!

"Pen Calfaria,
Nac aed hwnw byth o'm cof."

Ar ol ei farwolaeth waradwyddus, gofalodd Duw am iddo gael claddedigaeth anrhydeddus. Y mae yn debyg fod y milwyr yn dechreu parotöi y bedd i'r tri a groeshoeliasid, gan fwriadu o bosibl eu rhoddi i gydorwedd yn Golgotha. Ond yr oedd cynghor a bwriad Duw ar eu ffordd. Yr oedd y prophwyd Esaiah wedi rhagfynegi, saith cant o flynyddau cyn hyny, y byddai "y cyfoethog gydag Ef yn ei farwolaeth;" a haws yw i'r nef a'r ddaear fyned heibio nag i air y llw syrthio yn ddirym. Gan hyny, er dwyn i ben y pethau a ragluniodd llaw Duw, daeth gŵr ymlaen yn hyf at Pilat, gan ddeisyfu corff yr Iesu; ac erbyn ymholi pwy ydyw, yr ydym yn cael mai Joseph o Arimathea ydoedd—cynghorwr pendefigaidd, yr hwn a fuasai yntau yn ddysgybl i'r Iesu, ond am dymmor bu yn guddiedig felly rhag ofn yr Iuddewon; ond fe welodd y pryd hyn fod adeg wedi dyfod ar achos Mab Duw ag yr oedd yn rhaid iddo ymddangos yn benderfynol. Cafodd rhai gymhorth i arddel Crist wrth weled ei wyrthiau—rhai wrth glywed ei bregethau; ond am Joseph, cafodd ef ei nerth o'r groes; a thra yr oedd angeu Crist yn peri i rai ddilyn o hirbell, swynwyd Joseph yn nês ato; ac ni fynai Nicodemus o hyny allan ymddangos fel adar y nos, ond addefai ef yn ngwydd pawb; a thua machlud haul y dwthwn hwnw, gwelwyd y ddau bendefig yn ymwasgu trwy y dorf tua'r groes, ac yn tynu i lawr gorff yr Iesu, ac yn ei amdöi mewn llïan glân, gan ei roddi i orwedd mewn bedd newydd yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed. Yr oeddwn yn edrych ar gladdedigaeth Wellington yn y brifddinas, a meddyliais lawer yn nghorff y dydd hwnw y fath wahaniaeth ydoedd rhwng cynhebrwng concwerwr Bonaparte a chladdedigaeth Concwerwr angeu. Yr oedd mwy o edrychwyr yn St. Paul's, ond meddyliais fod mwy o ddagrau yn ngardd Joseph o Arimathea. O! Iesu mawr, y mae yn gorphwys oddiwrth ei lafur, wedi gorphen ei

waith. O! hapus ddyn ydoedd Joseph, yn cael yr anrhydedd o roddi benthyg lletty i Arglwydd y gogoniant. "Deuwch, gan hyny, a gwelwch y fan y gorweddodd yr Arglwydd." Treiglwyd maen mawr ar enau y bedd; seliwyd ef yn ddiogel ac yn sicr; ac wele driugain o wŷr arfog yn sefyll ar eu gwyliadwriaeth yn yr ardd, trwy orchymyn y rhaglaw. Yn awr, cyfeiriwn ein golwg at foreu y trydydd dydd, pan gyfododd Haul Cyfiawnder â meddyginiaeth yn ei esgyll. Meddyliais fod gwawr y boreu yn tori yn araf ar Fynydd yr Olewydd a Chalfaria, ynghyd a sanctaidd ddinas Jerusalem—dystawrwydd cyffredinol o amgylch yr ardd—y gwylwyr yn pryderus ddysgwyl am y boreu hwnw, pan y gollyngid hwy yn rhydd; ond ar darawiad amrant, "wele ddaeargryn mawr; canys disgynodd angel yr Arglwydd o'r nef, ac a dreiglodd y maen," heb ofyn help neb; "a'i wynebpryd oedd fel mellten, a'i wisg yn wèn fel eira." A phwy oedd hwn, dybygech, onid gwas ein Ceidwad ni? Fy mrodyr, crynodd y ddaear pan y bu farw yr Iesu; crynodd hefyd pan yr adgyfododd o feirw. Ond meddyliwn fod gwahaniaeth mawr rhwng y ddwy adeg. Crynai ddydd y croeshoeliad fel pe buasai natur mewn llewyg, ac yn methu dal yr olygfa, wrth weled Arglwydd y gogoniant ar y pren; ond meddyliwn mai rhyw lamu o lawenydd yr oedd y grëadigaeth foreu y trydydd dydd. Ni ryfeddwn i ddim nad oedd Calfaria a'r Olewydd yn neidio fel hyrddod, a'r bryniau cyfagos fel ŵyn defaid. Yn awr, "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir." "Crist a gyfodwyd oddiwrth y meirw." "Cyfododd megys y dywedodd." Cyfodwyd ef yn ol yr Ysgrythyrau.

1. *Y mae y bedd yn wag.* Y mae yr archoffeiriaid a'r henuriaid yn methu dangos corff yr Arglwydd Iesu. Y mae yn ddiammheuol y rhoddwyd ef i orwedd yno ddydd Gwener. Yr oedd yno lawer o dystion, ymhlith y rhai yr oedd y gwragedd sanctaidd a'i dilynent i fryn Calfaria. Eneinient ei gorff â dagrau wrth ei roddi i orwedd yn y dystaw fedd. Ond nid yw efe yno foreu y trydydd dydd. Y mae yr amdo yno wedi ei osod yn drefnus, a'r napcyn a fuasai am ei ben ef wedi ei roddi o'r neilldu. Dyna arwydd na bu rhyw frys mawr yn ei symudiad oddiyno. Ac y mae yn ymddangos nad i fedd arall yr aeth, canys buasai eisieu amdo i'r bedd hwnw cystal ag i fedd Joseph. Yn wir, y mae yr amryfusedd diweddaf yn waeth na'r

cyntaf. Ac y mae y milwyr wedi dianc o'r ardd heb ganiatâd y rhaglaw. Yr oedd rhyw olwg angeuol arnynt pan yn ffoi tua'r ddinas y boreu hwnw. O! Iesu mawr, os llewygodd y milwyr wrth weled un o'th angelion yn ei wisg ddysglaer, pwy a ddichon sefyll o'th flaen di dy hunan, pan fyddo y nefoedd yn ffoi o'th flaen, a'r ddaear a'r gwaith a fydd ynddi yn llosgi?

2. *Y mae y gelynion yn ymddangos yn siomedig.* Canys daeth y trydydd dydd yn hollol fel y rhagfynegodd y Gwaredwr, ac ni all neb ei wadu. Rhaid gan hyny ddyfeisio rhyw esgus, onide llabyddir yr awdurdodau gan y bobl. O ganlyniad cynnaliwyd cynghor ar yr achos, ac yr oedd Luciffer yn y gadair. Ond o holl esgusodion y ddraig a'i hâd, dyma'r wanaf o'r cwbl,—"Ei ddysgyblion a'i lladratasant ef o hyd nos, a nyni yn cysgu." Pa beth? *cysgu* ar y fath amgylchiad? ar y fath amser? yn y fath le? pawb yn cysgu ar unwaith? cysgu mor drwm fel y symudwyd maen mawr heb ddeffro un o honynt? Y mae hyny yn ymddangos yn anmhosibl. *Gwylwyr* yn cysgu, a hyny yn farwolaeth ddiarbed iddynt? cysgu *foreu y trydydd dydd*, sef yr adeg y rhagfynegodd yr Iesu y cyfodai o feirw? Gallasent gysgu y noson gyntaf, ïe para mewn trymgwsg hyd y boreu, heb i neb ymboeni yn eu hachos; ond am gysgu foreu y trydydd dydd, y mae hyny yn anhygoel. Ond syned y byd! y mae y gwylwyr yn addef ddarfod iddynt gysgu, er hyny y maent yn dianc yn ddigosb. Ond pa beth a ddaeth o gorff yr Iesu? Wel, ei ddysgyblion a'i lladratasant ef. Ond pa le y mae y tystion o hyny? Yr oedd yno filoedd o ddyeithriaid yn Jerusalem y dyddiau hyny, wedi dyfod i'r ŵyl, a llawer o eisieu cael lletty yn ymrodio o amgylch y ddinas ar hyd y nos. Attolwg, wŷr Judea, a welodd neb o honoch ddeuddeg o bysgodwyr, yn cludo corff marw o'r ddinas, tua chodiad haul foreu y trydydd dydd? Yn wir, ni bu erioed ladron mwy trefnus; y maent yn gadael yr amdo ar ol, a hwnw wedi ei blygu. Wel, os lladratäwyd ef, ymha le y cuddiwyd ei gorff sanctaidd? A oes neb o'r pum' can' brodyr yn ddigon gonest i ddadguddio y gyfrinach? Oni theimlai Ananias a Sapphira ar eu calon ddyweyd y gwir am unwaith, pe gwir a fuasai y chwedl? A phaham na chosbwyd y dysgyblion fel lladron? yr hyn ni wnaed eto. Yn wir, y mae y gelynion wedi eu töi â gwarth.

3. *Y mae ei gyfeillion yn cael eu gwisgo â nerth.* Y mae hyny yn deilwng o ystyriaeth, fod gelynion Crist wedi meddwl mwy am ei adgyfodiad o feirw nag a ddarfu i'w gyfeillion. Yr oedd yr hen air hwnw fel drychiolaeth yn eu brawychu hwy—"wedi tridiau y cyfodaf;" ond am ei ddysgyblion, ni wyddent yr Ysgrythyr fod yn rhaid iddo gyfodi o feirw. Dysgwylient weled boreu y trydydd dydd, er gweinyddu rhyw gymwynas i'w gorff marw; a phan soniwyd y dydd cyntaf o'r wythnos ei fod wedi cyfodi, yr oedd yr ymadrodd fel gwegi yn eu golwg, ac ni chredent ef. Gan hyny, er cadarnhâu eu ffydd, efe a ymddangosodd yn fyw.

Ond nid fel mellten yr ymddangosai—yn y ffurfafen; nid oddi draw, ymhell oddiwrthynt, fel seren yn y nefoedd; nid i un yn unig, ond i frodyr lawer ar unwaith.

1. Y mae nifer mawr o wŷr geirwir yn sicrhâu iddynt ei weled, ei glywed, a'i deimlo â'u dwylaw. A oedd dau neu dri o dystion yn ddigonol yn y dyddiau gynt? Y mae yma fwy na phum' cant o frodyr yn cyd-ddywedyd, "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir."

Ymddangosodd i'r gwragedd ar eu dychweliad oddiwrth y bedd. Cychwynent o Jerusalem, a hi eto yn dywyll; cerddent fraich yn mraich ar hyd heolydd Jerusalem, ac wrth fyned heibio y llanerchau y gwelsent ef yn ei ing a'i boenau, yr oedd hyny yn aredig eu teimladau, ac yna, tybygwn, meddai y naill wrth y llall,—'Dacw y fan y fflangellwyd Ef, dyna y fan lle y cynnorthwyodd Simon Ef i ddwyn ei groes, a dacw y fan y bu farw arno. Pwy a symud i ni y maen?' Yn y fan gwelsant fod y maen wedi ei dreiglo, a chawsant angel i'w harwain i weled y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd. Y mae yr angelion yn hoff iawn o'r saint, fel y mae y plant hynaf yn gofalu am y plant lleiaf. Dyma angel megys yn ymaflyd yn eu llaw, i weled y bedd. Bu yn dda genyf gael arweinydd ar hyd ffordd ddyeithr lawer gwaith; ond O! ferched Jerusalem, bendigedig ydych chwi ymhlith gwragedd Israel, trwy gael angel Duw i'ch cyfarwyddo i weled bedd Arglwydd y gogoniant! Ar eu dychweliad oddiyno, cyfarfu yr Iesu â hwynt, ac a ddywedai, Henffych well—y mae y frwydr wedi ei hennill—y gelynion wedi eu gorchfygu—y ffordd i'r cysegr wedi ei hagor; "a hwy a ymafaelasant yn ei draed Ef, ac a'i haddolasant."

Ymddangosodd i Mair Magdalen. Safai wrth y bedd yn wylo, ac fel yr oedd hi yn wylo, hi a welai ŵr ieuanc o fewn y fangre. Yr oedd ef dros bedair mil o flynyddau o oed, ond ymddangosai fel bachgen ieuanc. Yn y cyf-amser, hi a drôdd drach ei chefn, a gwelai yr Iesu; ac nid hir y bu cyn ei adnabod a'i addoli, gyda gwylder a pharchedig ofn. Yr amser a ballai i fynegi ei ymddan-gosiad i'r ddau ddysgybl ar eu ffordd i Emmaus, a'r modd yr agorwyd eu llygaid ar doriad y bara. Ah! yr oedd wedi tori bara nos Iau o'r blaen; ond yr oedd hyny cyn myned i'r frwydr—cyn yfed y gwpan, ond yn awr pan oedd y frwydr wedi ei hennill. Yr amser a ballai i fyn-egi am ei ymddangosiad i'r deg yn yr oruwchystafell, pan yr anadlodd arnynt, y dywedodd, Tangnefedd i chwi, ac yna, meddai, Derbyniwch yr Ysbryd Glân;—i Thomas, pan ddywedai, "Moes yma dy fys, a gwel fy nwylaw; ac estyn dy law, a dod yn fy ystlys; ac na fydd anghred-adyn, ond credadyn;"—i saith, wrth Fôr Tiberias, pan holai Pedr, "A wyt ti yn fy ngharu i?"—i fwy na phum' can' brodyr ar fynydd yn Galilea, lle yr ordeiniasai yr Iesu iddynt;—i liaws ar Fynydd yr Olewydd, pan gyfododd ei ddwylaw ac y bendithiodd hwynt;—i Stephan, yr hwn a'i gwelai yn sefyll ar ddeheulaw Duw;—i Ioan, pan ymddan-gosai yn Patmos, â'i ben fel gwlan, a'i draed fel pres, &c. "Yr Arglwydd *a* gyfododd yn wir."

2. Cadarnhäwyd y tystiolaethau hyn â gwyrthiau am-lwg a digyffelyb. Cyflawnwyd un wyrth ar yr adeg. "Llawer o gyrff y saint y rhai a hunasent a gyfodasant." Pwy oeddynt nis gwyddom. Hwyrach fod Moses yno, a'i enaid llariaidd mewn corff ysbrydol. Hwyrach fod Dafydd yno, yn adgofio yr hen Salmau a ganodd yn y ddinas sanctaidd, â'i glustiau erbyn hyn yn llawn o beror-iaeth y drydedd nef. Hwyrach fod Jeremiah alarus yno, a Duw wedi sychu ei ddagrau yn llwyr oddiar ei lygaid. Ond O! pethau y nefoedd oedd pethau plant yr adgyfod-iad! Wrth edrych ar yr aberthau yn gwaedu yn y deml, adgofient Aberth Calfaria; wrth weled dinas Jerusalem, yn ei phalasau godidog, a'i heolydd a'i theml, meddylient am y Jerusalem hono uchod, yr hon sydd "â'i heolydd o aur pur, a'i goleuni hi yw yr Oen."

Cyflawnwyd y gwyrthiau rhyfeddaf fel arwydd o adgyf-odiad Crist. Dacw ŵr cloff o groth ei fam yn neidio yn

berffaith iach, wrth i'r Apostol enwi ei enw Ef; dacw Dorcas yn cyfodi o blith y meirw; cysgod y pregethwr, sef Pedr, yn iachâu clefydau blinion. Yr oedd yr Arglwydd "yn cadarnhâu y gair trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn."

3. Selient y dystiolaeth hon â'u gwaed. Yr wyf yn meddwl y buasai yr awdurdodau gwladol yn fwy boddlawn i'w gadael yn llonydd, pe gadawsent y gangen hon o'r gwirionedd allan o'u pregethau; ond rhaid oedd ufuddhâu i Dduw yn fwy nag i ddynion. Gwelaf hwy o flaen y cynghor, yn cael eu bygwth a'u dwrdio na lefarent mwy yn yr enw hwn; ond gyda eu bod yn rhydd, llefent allan, "Yr Iesu hwn a gyfododd Duw." Cyfarfyddent angeu yn ei wedd erchyllaf; ac â'u hanadl olaf pregethent adgyfodiad yr Arglwydd Iesu oddiwrth y meirw. Cyfododd yn yr un ysbryd ag yr aeth i'r bedd: marw dan weddïo, cyfodi dan fendithio!

II. Y mae adgyfodiad yr Arglwydd Iesu I'W YSTYRIED FEL ARWYDD O URDDAS A GOGONIANT EI BERSON, YNGHYD A HOLLDDIGONOLRWYDD EI WAITH.

Ymddangosai ef o Bethlehem i Galfaria yn debycach i fab y saer nag i Fab Duw. Cuddiai dynion eu hwynebau rhagddo; nid oedd na phryd na thegwch ynddo yn eu golwg, pan edrychent arno. Beth pe gwelsech chwi Ef yn myned oddiamgylch heb le i roddi ei ben i lawr? O! "yr Hwn ac efe yn gyfoethog a ddaeth er ein mwyn ni yn dlawd;" ac eto tystiolaethai o ddyfnder ei dlodi, gan ddywedyd, "Mab Duw ydwyf." Ac yr oedd hyn yn gyru yr awdurdodau yn wallgof. "Yr wyt ti," meddynt, "a thithau yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn gystal â Duw. Ai mwy wyt ti na'n tad Abraham?" "Ië," meddai yntau; "cyn bod Abraham yr wyf fi." Ar hyny y mae eu cynddaredd yn tori allan fel fflam angerddol, nes y maent yn codi cèryg i'w labyddio; canys dyna gosbedigaeth pob cablwr. Ac yn wir, dyma yr achos i'r archoffeiriad rwygo ei ddillad, a llefain allan, "Chwi a glywsoch y cabledd. Pa raid i ni mwyach wrth dystion? Beth dybygwch chwi? Hwythau a atebasant, Euog o farwolaeth ydyw."

Ryw ddiwrnod gofynent iddo, "Pa arwydd yr wyt yn ei roddi i ni?" Pa arwydd o ddwyfoldeb dy Berson? Pa arwydd mai tydi yw y Crist, Mab y Bendigedig?

Wel, ebai yntau, "dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau y cyfodaf hi." Dyna i chwi arwydd. Os arosaf ar ol fy nghroeshoeliad yn y bedd yn hŵy na'r trydydd dydd, yna penderfynwch mai twyllwr y bobl ydwyf. Nid yw Duw yn goddef i dwyllwr, ar ol unwaith farw, byth gyfodi mwyach. Pa le y mae sylfaenwyr gaugrefyddau y byd? Ah! y maent yn aros yn garcharorion angeu hyd y dydd mawr diweddaf. Ond am Iesu Grist, daeth i fyny yn fyw foreu y trydydd dydd, ac a'i "heglurwyd yn Fab Duw mewn gallu, trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw." Y pryd hyn y dangoswyd rhagorol fawredd nerth Duw—pan gyfododd efe ef o feirw. Tystiolaethai y Tad, gan ddywedyd, "Fy Mab ydwyt ti; myfi heddyw a'th genedlais di. Gofyn i mi, a rhoddaf y cenedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant."

Erioed ni welwyd y fath olwg arno a'r boreu hwn. Gwelwyd ef yn gorchymyn i'r ysbrydion aflan fyned allan o ddynion, a hwythau wrth ymadael yn dolefain, gan ddywedyd, "Mi a'th adwaen pwy ydwyt, Sanct Duw." Gwelwyd ef yn sefyll uwchben tònau cynddeiriog y môr, ac yn llefain gydag awdurdod, "Dystawa, a hi a aeth yn dawelwch mawr;" a'r bobl yn gofyn gyda syndod, "Pwy yw Hwn, gan fod y gwynt a'r môr yn ufuddhâu iddo?" Gwelwyd ef ar làn y bedd; llefarai yno gydag awdurdod, "Lazarus, tyred allan," a'r marw yn dyfod yn fyw. Ond y mae yr holl ryfeddodau hyn o'r bron yn diflanu wrth ei weled yn agor pyrth marwolaeth, ac yn dyfod i fyny yn fyw o galon y ddaear. Yn lle corff gwael, dacw gorff ysbrydol. Aeth i lawr mewn gwendid, cyfodai mewn nerth; aeth i lawr mewn anmharch, cyfodai mewn gogoniant. Nid rhyfedd i Thomas dystiolaethu a dywedyd, pan ei gwelodd, "Fy Arglwydd a'm Duw!" O! Iesu mawr, o hyn allan y mae dy ogoniant heb lèn arno. Tecach ydwyt na meibion dynion. Ti yw tegwch nef y nef. Henffych i'r diwrnod y cawn edrych ar dy wyneb mewn cyfiawnder!

Eilwaith, y mae ei adgyfodiad o feirw *fel cofadail o hollddigonolrwydd ei waith.* A pha beth oedd y gwaith a gyflawnodd ar y pren? onid rhoddi iawn i Dduw, a llwyr orchfygu yr holl elynion? Wel, fe wnaeth hyny; ac O! fel y mae y Bibl yn cyfeirio y byd tua

Chalfaria. A oes eisieu maddeuant? "Y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed Ef, sef maddeuant pechodau." A oes eisieu cyfiawnder i sefyll ger bron gorsedd Duw? "Trwyddo Ef y cyfiawnhëir pob un a gredo." A oes eisieu glanhâd?" Y mae "gwaed Iesu Grist ei Fab Ef yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod." A oes eisieu heddwch â'n Barnwr? Y mae hyny i'w gael trwy farwolaeth ei Fab Ef. A oes anghen am nerth i orchfygu ein gelynion? Ysbeiliodd Ef y tywysogaethau a'r awdurdodau, &c. 'Ië, ïe,' meddai rhywun, 'pa brawf fod y Nefoedd yn foddlawn i achub yr euog—yr orsedd yn rhydd i olchi yr aflan—y Duw y pechwyd i'w erbyn yn Dduw yr heddwch?' O! dyma brawf—ei adgyfodiad o feirw. "O garchar ac o farn y cymerwyd Ef." Canys gan i gyfiawnder gael iawn, a'r gyfraith foddlonrwydd, nid oedd yn bosibl ei attal Ef fel carcharor i angeu yn hŵy na'r trydydd dydd. Yr oedd arogl peraidd yr Aberth drud wedi esgyn i'r cysegr sancteiddiolaf, ac yna rhaid i'r nef ei dderbyn.

Yn adgyfodiad Crist o feirw gwelaf obaith da, bywiol, a chadarn, am fywyd pechaduriaid. Pe buasai Crist yn y bedd, buasai ein gobaith ninnau wedi ei gladdu yno gydag ef. Ofer fuasai son am chwys gwaedlyd yr ardd; ofer dywedyd gair am y goron ddrain ar ei ben sanctaidd, na'r groes. Ni buasai byth swyn yn y gair melus hwnw, Calfaria; buasai Golgotha wedi colli ei hynodrwydd. Ond gan fod Crist wedi cyfodi oddiwrth y meirw, y mae i ni obaith am drugaredd yn ei angeu. Gan hyny ni a ymddyddanwn am yr ardd, a'r llys, a'r groes.

"Yn nyfnder dŵr a thân,
Calfaria fydd fy nghân;
Calfaria mwy:
Y bryn ordeiniodd Duw
Yn nhragwyddoldeb yw,
I godi 'r marw 'n fyw,
Trwy farwol glwy'."

Gan fod Crist wedi adgyfodi, nid yw ein pregeth yn ofer, nid yw ein ffydd yn ofer ychwaith; nid yw y rhai a hunasant yn Nghrist wedi eu cyfrgolli; ac nid yw y rhai a gredant ynddo yn aros yn eu pechodau. O! y llewyrch a dywynodd ar ein byd ni foreu y trydydd dydd. Cyfodai Goleuni y byd heb gwmwl arno, â meddyginiaeth

yn ei esgyll, gan bregethu tangnefedd i'r rhai pell ac i'r rhai agos.

Cyfodai â'i wisgoedd wedi eu llychwino â gwaed y gelynion, a'r oll o honynt wedi eu llwyr orchfygu. Arddangosodd hwynt ar gyhoedd. Dacw y byd wedi ei lwyr orchfygu gan yr Adda diweddaf. Dacw Satan â'i ben wedi ei ysigo—fel na wellhâ o'r archoll byth. Dacw angeu wedi colli ei golyn. "I Dduw y byddo'r diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist."

Cyfododd, gan hyny y mae-gwaith y prynedigaeth wedi ei orphen gan ein Meichiau mawr. "Efe a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu ni. 'Ah!' medd rhywun, 'nid dyna hen athrawiaeth cyfiawnhâd. Clywais er yn blentyn, "Yn cyfiawnhâu trwy ei ras Ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu." Ié, adgofiwyd i mi mai "trwy ufudd-dod Un y gwneir llawer yn gyfiawn." Pa olygiad sydd gywir?' Ah! y maent oll yn gywir. Yr haeddiannol achos ydoedd y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu. Gwaed y cyfammod tragywyddol a agorodd y ffordd i'r cysegr. Ond am ei adgyfodiad, dyma *receipt* fawr y Nefoedd fod y ddyled wedi ei thalu. Gan hyny, os oedd ei farwolaeth fel sylfaen a chonglfaen Sïon, y mae ei adgyfodiad fel y maen penaf. Nid rhyfedd gan hyny ddarfod i Dduw anfon ei was i ardd Joseph, i symud dorau y carchar, i agor *curtain* y gwely, ac i oblygu ei ddillad nos. Y mae y Nefoedd yn foddlawn iddo.

Cyfododd yn ei wisgoedd swyddol. Ni ddyosgodd y rhai hyny wrth farw i neb ar ei ol. Gadawodd ei fam i ofal Ioan. Gadawodd ei efengyl fel ymddiried yn nwylaw ei weision hyd ddiwedd y byd, gan sicrhâu iddynt, "Wele yr wyf fi gyda chwi bob amser." Ond ni adawai ei swyddau i neb arall. Pan roddodd ef i fyny yr ysbryd, nid oedd nac Eleazar na Phinees i'w osod yn ei le. Cyfododd foreu y trydydd dydd yn ei wisgoedd swyddol. Yr oedd arogl myrrh, aloes, a chassia, ar ei holl wisgoedd.

Enaid! bellach ymddiried ynddo am dy fywyd; pwysa dy enaid ar aberth Crist. Ymddiriedodd Duw ei ogoniant iddo, ac ni siomwyd Ef. Dyma lais y nef, "Mi a gyfarfyddaf â thi yno." Ac od wyt yn ammheu digonolrwydd ei aberth i fod yn iawn, dos i'r ardd; edrych i'r fan lle gorweddodd yr Arglwydd; nid oes yno ond yr

amdo. "Pwy gan hyny yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr Hwn a fu farw, ïe, yn hytrach, yr Hwn a gyfodwyd hefyd; yr Hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr Hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni." Clod iddo am fyned i'r bedd! Clod iddo am ddod i'r làn!

III. Y mae adgyfodiad yr Arglwydd Iesu I'W YSTYRIED FEL ESIAMPL I NI, FEL Y DILYNEM EI OL EF.

Y mae yr apostolion yn fynych iawn yn gosod allan adgyfodiad yr Arglwydd Iesu fel patrwn i ninnau i wneuthur yr un modd, trwy ddeffro o gwsg pechod, gadael bro marwolaeth ysbrydol, ac ymdebygu i'r Hwn a gyfodwyd o feirw. Meddai Paul, "gan wybod nad yw Crist, yr Hwn a gyfodwyd oddiwrth y meirw, yn marw mwyach; nad arglwyddiaetha marwolaeth arno mwyach: canys fel y bu Efe farw, Efe a fu farw unwaith i bechod; ac fel y mae yn byw, byw y mae i Dduw. Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod; eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." Mewn lle arall dywed, "Byddwch eiddo yr Hwn a gyfodwyd o feirw, fel y dygom ffrwyth i Dduw." Mewn lle arall, "Os cydgyfodasoch gyda Christ, ceisiwch y pethau sydd uchod." Y mae yr ymadroddion hyn, a'u cyffelyb, yn dangos fod adgyfodiad Crist yn batrwn i ni wneuthur yr un peth. Cyfodwn o feddrod llygredigaeth pechod, fel y cyfododd Ef o fedd Joseph. A phe gofynai rhyw un, pa fodd y cyfododd Crist? Wel, *fe gyfododd yn llwyr.* Gadawodd hyd yn nôd wisgoedd y bedd ar ei ol. Ni feddyliodd ddychwelyd i'r beddrod yno mwyach. Yr oedd rhywbeth yn ei waith yn goblygu ei ddillad, fel pe dywedasai, 'Ffarwel feddrod, bellach. Angeu, nid oes arnaf eisieu dy wisgoedd eto. Na! gwisgaf gyfiawnder fel llurig, a helm iachawdwriaeth am fy mhen.' Daeth i fyny yn hardd ei wisg, gan ymdaith yn amlder ei rym. Cyfodwch chwithau felly—yn llwyr a hollol. Cefnwch ar bob peth ag y mae Duw wedi ysgrifenu marwolaeth arno. Cyfodwch o'r fro hono y mae Duw yn myned i'w dinystrio. Dïangwch am eich einioes rhag eich dyfetha.

Pa fodd y cyfododd Crist? Wel, fe gyfododd yn *foreu.* O! ieuenctyd, ymdebygwch iddo;

"Cysegrwch flaenffrwyth dyddiau 'ch oes,
I garu 'r Hwn fu ar y groes."

Anadlwch anadl gweddi tuag ato ar godiad haul eich heinioes. Clywer chwi yn erfyn arno o galon bur, gan ddywedyd, "Diwalla ni yn foreu â'th drugaredd." Cyfodwch o'r fan yna, cyn dyfod y dyddiau blin, "cyn tywyllu yr haul, a'r goleuni, a'r lleuad a'r sêr, a dychwelyd y cymylau ar ol y gwlaw." Cawn bob amlygiad yn y Bibl nad oes neb yn rhy ieuanc i ddechreu byw iddo Ef. Cefais bleser wrth chwilio llyfr Numeri, a gweled mor hoff gan Dduw ydyw plant ac ieuenctyd. Yr ydym yn darllen, pan oedd Israel ar derfynau rhosydd Moab, fod yr Arglwydd yn gorchymyn rhifo y bobl—sef yr holl lwythau ond yn unig llwyth Lefi. Ac meddai yr Arglwydd, "Rhifwch hwy o fab ugain mlwydd ac uchod." Fel pe dywedasai, 'Nid ydynt o werth nemawr i'r byd nes cyrhaedd ugain oed.' Ond ar ol darfod hyny o orchwyl, y mae yn gorchymyn rhifo llwyth Lefi—ei lwyth penodol ei hunan—y llwyth nad oeddynt yn gwneuthur dim ond yn unig ei wasanaethu Ef yn gwbl a hollol. Wel, medd Duw, "Rhifwch lwyth Lefi o fis oed ac uchod;" 'ac os nad ydyw plant dynion o nemawr werth i'r byd cyn bod yn ugain oed, mi a'u cymeraf yn fis oed.' O! ieuenctyd, cyfodwch yn foreu. Llefwch o hyn allan, "Fy nhad, ti yw tywysog fy ieuenctyd." Ac o hyny allan, "rhoddwch eich serch ar y pethau sydd uchod, ac nid ar y pethau sydd ar y ddaear." Y nefoedd a fyddo eich gorphwysfa; ac wrth gyfeirio tuag ati, cenwch y pennill hwn—

"Nid i'r ddaear yma y'm ganwyd;
Fry m..e 'nghartre' yn y ne'."

IV. Y mae adgyfodiad yr Arglwydd Iesu I'W YSTYRIED FEL GWYSTL O ADGYFODIAD Y SAINT YN Y DYDD DIWEDDAF.

Dyma ryfeddod anfeidrol, sef ddarfod i Grist fyned i'r bedd er ein mwyn. Gallwn gan hyny ddywedyd yn ddibetrus, Wele, fel yr oedd efe yn ein caru ni! Nid oedd dim yn ormod ganddo i'w wneuthur dros bechadur euog a cholledig. "Fe rodd ei fywyd trosom;" ïe, disgynodd i'r beddrod er ein mwyn. "Yn hyn yn wir y mae cariad;" ïe, methodd dyfroedd lawer a'i ddiffoddi. Ac wrth ddyfod i fyny o'r bedd, diddymodd angeu. Dacw angeu heb ei golyn, ac agoriadau marwolaeth yn ei ddwylaw Ef. Nid rhyfedd iddo gyhoeddi mor groew, "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd: yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo

farw, a fydd byw." Y mae adgyfodiad Crist, i angeu, fel y darn llaw hwnw ar galchiad y pared—yn ysgrifenu yn eglur, "Duw a rifodd dy freniniaeth ac a'i gorphenodd."

> "Angeu bellach, gwna dy waethaf,
> Nid yw 'th ddychryniadau ddim;
> Mwy o hedd sy 'mhen Calfaria,
> Nag sydd yn dy saethau o rym."

O! mor wahanol ydyw llais yr Hen Destament a llais y Newydd wrth son am dano. Dan yr hen oruchwyliaeth, ymddangosai angeu fel yr Iorddonen ddofn a thònog; ond yn adgyfodiad Crist, y mae yr Iorddonen yn troi yn ôl. Dan yr hen oruchwyliaeth, ymddangosai fel llew rhuadwy; dan y newydd, y mae y llew yn oen diniwed. Yn yr Hen Destament, gelwid y bedd yn dŷ heb drefn; ond yn y Newydd, gelwir ef "y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd." Edrychid arno gynt yn frenin y dychryniadau; ond ar ol adgyfodiad Crist, "huno yn yr Iesu" ydyw. Gristion! yr wyt fel llawer plentyn bach yn gommedd myned i huno. Y mae dy Dad yn arfer llawer o foddion i'th gymmodi âg angeu; fel y mae tadau naturiol yn cymmodi eu plant â'r gwely. "Dos i orwedd," meddai ambell i dad wrth ei blentyn; "y mae y gwely yn esmwyth; cau dy lygaid; bydd dy ludded drosodd; cei orphwys yn gysurus; cwsg, cei ddillad newydd yn y boreu." Felly y mae Duw yn sibrwd wrth rai o'i blant sydd yn methu cymmodi â marw,—"Cwsg; y mae y gwely yn esmwyth—y mae yr Arglwydd wedi gorwedd yno o dy flaen; ni chei niwed yn yr ail farwolaeth; cau dy lygaid; cei orphwys yn dawel, heb dy feiau—ni orweddant ar dy esgyrn yn y pridd; cwsg, cei ddillad newydd yn y boreu; bydd dy lygaid yn ddigon cryf i edrych ar ei wyneb mewn cyfiawnder." Ac os ydyw adgyfodiad Crist wedi newid gwedd angeu, y mae wedi sicrhâu adgyfodiad y saint. Dyma ysgub y blaenffrwyth. Ar y diwrnod yr adgyfododd Crist o'r bedd y dygid ysgub blaenffrwyth y cynauaf i fewn ger bron yr Arglwydd, ac yr oedd hyny yn arwydd y deuai y cynauaf ar ei hol. Ah! "Efe a wnaethpwyd yn flaenffrwyth y rhai a hunasant:" ac mor sicr ag yr adgyfododd Ef o feirw, dygir y cnwd mawr hefyd i ddiogelwch; a chan fod y blaenffrwyth yn sanctaidd, bydd yr holl hâd felly hefyd.

Bydd rhyw gyffelybrwydd yn mhlant yr adgyfodiad i'r blaenffrwyth—rhyw debygolrwydd yn y saint iddo Ef. Edrychwn pa olwg ydoedd arno Ef; gallwn benderfynu y byddwn gyffelyb iddo. "Yr Hwn a gyfnewidia ein corff gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus Ef."

*Cyfodi heb bechod a ddarfu iddo Ef.* Darfu iddo trwy ei angeu ddilëu pechod—dybenodd gamwedd. Fel yna y cyfyd y saint. Gofynir yn y boreu rhyfedd hwnw—"Angeu! pa le y mae dy golyn? angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth."

*Cyfodi mewn nerth a ddarfu iddo Ef.* Nid oedd arno mwyach chwant bwyd; ni chwynai ei fod yn sychedig; ni flinai gan y daith; nid oedd raid iddo orwedd i gysgu. O! Gristion, beth meddi am y diwrnod y cyfodi dithau mewn nerth? Dacw yr enaid pur mewn corff ysbrydol, a hwnw yn gyffelyb iddo Ef!

# PREGETH III.

## Y MAB AFRADLAWN MEWN CYFYNGDER.

GAN Y PARCH. W. ROWLANDS, EFROG NEWYDD, AMERICA.

"Ac wedi iddo dreulio y cwbl, cododd newyn mawr trwy y wlad hono; ac yntau a ddechreuodd fod mewn eisieu. Ac efe a aeth ac a lynodd wrth un o ddinaswyr y wlad hono; ac efe a'i hanfonodd ef i'w faesydd i borthi moch. Ac efe a chwennychai lenwi ei fôl â'r cibau a fwytâi y moch; ac ni roddodd neb iddo."—Luc xv. 14, 15, 16.

Canlyniad cyffredin afradlonrwydd yw bod mewn eisieu; ond gweddnod tywyllach yn arlun yr afradlawn, yn dangos anmharch a diystyrwch ychwanegol ar ei dad a'i gartref boreuol, yw iddo yn ei gyfyngder lynu wrth un o ddinaswyr y wlad bell, ac yn ngwasanaeth hwnw ymostwng i'r gwaith ffieiddiaf a wyddai cenedl Israel am dano. Nid oedd o'r blaen, er ei ymadawiad angharedig â'i dad, ond megys estron yn y wlad ddyeithr; eithr yn awr y mae yn ddiystyr o bob teimlad gwladgarol, cenedlgarol, a theuluaidd—yn gwneyd ymgais i ymgartrefu yn y wlad hono, ac ymgymeryd â'i harferion bryntaf ac adgasaf. Ond mewn cyfyngder yr oedd, er y cwbl; ac ni roddai neb iddo. Yr oedd mewn gwlad dlawd i'r eithaf.

Mor gywir y portrëad o bechadur yn ei gyflwr syrthiedig: os teimla ei gyfyngder, gwell ganddo bob peth na dychwelyd at Dduw; ac ymlyna, yn ddiofal o bob rhwymedigaeth i'w Grëawdwr a'i Gynnaliwr, wrth "dduw y byd hwn" (2 Cor. iv. 4), gan ymostwng i'r gwasanaeth aflanaf i geisio digoni ei hun, ond y cwbl yn ofer.

"*Ac wedi iddo dreulio y cwbl.*" Er cymaint ei ddâ, ni ddaliai nemawr yn y fath afradlonedd. Dyma hanes llythyrenol llawer llencyn coegfalch a ddechreuodd ar ben etifeddiaeth deg; ond trwy fywyd afradlawn gwariodd y cwbl. Mae pechadur hefyd, trwy ei ymadawiad â Duw, wedi treulio y cwbl o'i holl eiddo mawr a gafodd yn ei *grëadigaeth:* y ddelw Ddwyfol, ei fwyniant, a'i freintiau.

"*Cododd newyn mawr trwy y wlad hono.*" Nid peth anghyffredin yn ngwledydd y Dwyrain oedd newyn, mewn canlyniad i fethiant y cnydau o eisieu gwlaw yn ei amser, a gwres magwriaethol yr haul; neu weithiau ymledaniad haint, yn ysgubo ymaith y fath lïaws o'r trigolion. Brydiau eraill, medd haneswyr, oddiwrth ddiogi ac esgeulusdra y trigolion; ymhlith y cyfryw yr ymddengys fod yr afradlawn wedi bwrw ei goelbren.

"*Ac yntau a ddechreuodd fod mewn eisieu.*" Cyrhaeddodd y wanc yntau. Megys y dywedir, "Yn anaml y daw gofidiau bob yn un;" felly yr oedd yma gydgyfarfyddiad adfydus, yn ei gwneyd yn flin ar yr afradlawn. Pe buasai heb dreulio y cwbl, gallasai fyw uwchlaw anghen personol, er fod newyn yn y wlad; ac o'r ochr arall, er treulio y cwbl, pe buasai helaethrwydd yn y wlad, ni fuasai yn debyg o ddyoddef eisieu,—mor fuan o leiaf. Dyma gyfyngder yn wir.

"O hir chwareu y daw chwerw chwareu."

Yr oedd *dechreu* ar eisieu yr afradlawn; ni wyddai am ddim ond pob cyflawnder yn ei gartref boreuol. Felly dyn yn ei gyflwr syrthiedig—crëwyd ef mewn dedwyddwch perffaith; ei bechod ei hun a roes ddechreuad ar ei holl druenusrwydd.

"*Ac efe a aeth ac a lynodd wrth un o ddinaswyr y wlad hono.*" Cyflogodd ei hun i un o drigolion y wlad hono, yn byw mewn dinas neu dref, i wneyd unrhyw wasanaeth; nid gwaeth ganddo pa mor wael. Dynoda y gair iddo wthio ei hun ar un o'r dinaswyr, ac ymbil arno ei gymeryd i'w wasanaeth. Och! dyma fab y pendefig yn ymbil am le fel gwas gyda dinesydd cyffredin! Yr oedd yn ddarostyngiad i ddechreu i un o blant Abraham, fel yr ydym yn golygu yr afradlawn, gyflogi ei hun i Genedlddyn, fel yr ystyriwn frodorion y wlad bell; a gwaeth fyth wrth ystyried y gorchwyl a gafodd. Cynnwysa yr ymadrodd ei fod wedi syrthio i ddyfnder eithaf trueni dynol.*

"*Ac efe a'i hanfonodd ef i'w faesydd i borthi moch.*" Er fod y gŵr ei hun, fe allai, yn byw mewn dinas, yr oedd ganddo faesydd yn y wlad, lle y cadwai foch. Yr oedd y crëaduriaid hyn yn aflan dan y ddeddf Iuddewig; ac

* Olshausen ar adn. 15.

nid . allasai fod dim yn fwy o ddiraddiad i Iuddew na'i anfon i borthi moch. Y gwaelaf o bob gwasanaeth oedd hwn hefyd ymhlith cenedloedd eraill yr oesoedd hyny. Ni chaniatëid yn yr Aipht i fugeiliaid moch ymgymysgu mewn cymdeithas wladol, nac ymddangos yn addoliad y duwiau; ac ni fynai hyd yn nôd gwehilion y bobl unrhyw gysylltiad priodasol â hwynt.* Felly arweinia y ddammeg ni, yn y desgrifiad o iselder dyn yn ei gwymp, at y cymeriad a'r gwasanaeth gwaelaf adnabyddus ymhlith dynion. Gynt yn fab, yn awr yn gaethwas; gynt dan ofal tad tirion, yn awr dan lywodraeth meistr creulawn; gynt gartref, yn awr yn ddyeithrddyn.

"*Ac efe a chwennychai lenwi ei fòl â'r cibau a fwytâi y moch.*" Codau ydyw'r gair am gibau yn nghyfieithiad W. Salesbury. *Husks*, yn y cyfieithiad Seisonig; yr hyn, y lled-dybia yr enwog eirdarddydd Webster, sydd â'i darddiad o'r Cymraeg, *wisg*—yn golygu gwisg y ffrwythyn. Bernir fod y gair gwreiddiol yn cyfeirio at ffrwyth y planigyn adnabyddus wrth yr enw *ffâ carob*, yr hwn a ddefnyddir yn gyffredin yn y Dwyrain i borthi anifeiliaid.† Cibau, &c.—"côd llyfn, tywyll, a chaled," medd un awdwr, "tebyg i ffâ Lima." Tyfant ar y pren *Huskel*, neu carob; a cheir ef yn gyffredin yn Syria a Phalestina. Nid y plisgyn ydyw y cibau, ond yr holl gôd, i'r hon nid ymddengys fod ffäen wahaniaethol, ond bywyn *(pulp)* o'r un trwch drwyddo. "Gwelsom," medd un, "bobl dlodion yn ei fwyta, er mai bwyd anifeiliaid ydyw; a bwyd gwael iawn i ddynion—dim ond rhywbeth rhag newynu."‡ Sonir am dano yn fynych yn y Talmud, fel bwyd gwartheg a moch. Gelwir ef weithiau yn "*Fara Ioan Sant*," oddiar y dybiaeth mai dyma y "locust" yr oedd Ioan Fedyddiwr yn ei fwyta gyda'r mêl gwyllt yn yr anialwch.

"*Ac ni roddodd neb iddo.*" Er ei fod yn ei eisieu mawr yn foddlawn byw ar yr un peth a'r moch dan ei ofal, ni roddodd neb iddo hyd yn nôd o'r cibau gwaelion hyny. Pan yn bwyta o honynt, rhaid iddo eu lladrata yn ddirgelaidd o'u dognau gosodedig hwy. Yn ol rhai,|| "Canys ni roddodd neb iddo,"—h.y., ni roddodd neb fwyd addas iddo.

Deuwn yn awr i sylwi yn fwy neillduol ar druenus-

* Herodotus, Llyfr II., pen. 47. † Olshausen. ‡ Melancthon W. Jacobus. || Calvin, a Gill.

rwydd dyn yn ei gyflwr syrthiedig trwy y drych yma. Gwelwn ef

I. Yn y cyfyngdra a oddiweddai yr afradlawn: "Ac wedi iddo dreulio y cwbl," &c.

II. Ei ymddygiad yn ei gyfyngder: "Ac efe a aeth ac a lynodd wrth un o ddinaswyr," &c.

III. Oferedd ei ymchwiliadau am gysur ac ymgeledd tra ymhell oddiwrth ei dad a'i gartref boreuol: "Ac efe a chwennychai lenwi ei fòl â'r cibau a fwytâi y moch, ac ni roddodd neb iddo."

I. Yr afradlawn mewn cyfyngder: "Ac wedi iddo dreulio y cwbl, cododd newyn mawr trwy y wlad hono; ac yntau a ddechreuodd fod mewn eisieu." Yma gallwn sylwi—

1. *Mai treulfawr iawn yw pechu.* Wrth fwyta o ffrwyth yr un pren gwaharddedig, collodd ein rhieni gwreiddiol ffrwyth holl brenau yr ardd. Treulia dyn y cwbl yn fuan wrth ddilyn llwybrau pechod. Gall y meddwyn, yr oferddyn, a'r anllad-ddyn, oll dystio mai costus iawn yw byw yn annuwiol; ac hyd yn nôd y cybydd a'r ariangar, er casglu y llwch melyn yn grugiau, gwna hyny ar draul ei gyfansoddiad; ymbortha ei ragofal a'i bryderwch ar ffynnonau ei fywyd, nes ei wneyd yn hen ddyn crebachlyd cyn cyrhaedd canol oed. Y mae balchder, hunangais, cenfigen, afradlonedd, oll yn dreulfawr iawn i gyfansoddiad, yn gystal ag amgylchiadau, eu coleddwyr.

2. *Mae bod mewn eisieu yn dilyn afradlonrwydd yn gyffredin.* Er nad ydyw o herwydd amledd cyfoeth yn gwneyd pawb yn dlawd, y mae yn gwneyd pawb yn dlotach: "Y meddw a'r glwth a ddaw i dlodi" (Diar. xxiii. 22). Afradlonrwydd ein rhieni cyntaf—bwyta wrth flys, ac nid wrth anghen—a ddygodd eu holl hiliogaeth i dlodi; ac y mae afradlonrwydd personol drachefn yn dyfnhâu y tlodi. Cofied y rhai a elwir yn ddynion prysur *(fast men)*, ac a dreuliant mor ddibris eu hamser, eu hiechyd, moddion bywioliaeth, grym y cyfansoddiad, a'u cyfleusderau i ymbarotöi at hapusrwydd dyfodol, y daw eisieu yn y man.

3. *Eisieu pwysig ac ofnadwy iawn yw eisieu yr annuwiol.* Treuliodd dyn y cwbl. Nid oes ar ol, o'r holl dda, gymaint ag un tueddiad pur. Nid oes yn y natur syrthiedig ddim da yn trigo (Rhuf. vii. 18). Gall y dyn fod

yn y mwyniant helaethaf o bob cysur daearol—cyfoeth, iechyd, ieuenctyd, a llwyddiant; eto mewn anghen ysbrydol a chwerwa ei holl fwyniant daearol.

Wrth son am dano, pa le i ddechreu ar eisieu mor fawr sydd anhawdd penderfynu; ond gallwn nodi rhanau o'r eisieu mawr hwn. Y mae yma

(1). Eisieu *cariad mewn egwyddor at Dduw.* "Nid ar fara yn unig y bydd dyn fyw; ond ar bob gair Duw" (Luc iv. 4). Nid oes ond cymdeithas â Duw a all lanw dymuniadau dyn. Rhaid cael cariad ato cyn ewyllysio ei gymdeithas; gan hyny, tra yn amddifad o egwyddor i garu Duw, rhaid i'r dyn fod mewn eisieu tragywyddol.

(2.) Eisieu *heddwch cydwybod.* Gau a ffugiol yw pob heddwch y dychymyga dyn ei fod ganddo, tra byddo y gydwybod heb ei heddychu. Dywed ein Harglwydd—"Pan fyddo un cryfarfog yn cadw ei neuadd, fod yr hyn sydd ganddo mewn heddwch" (Luc xi. 21). Ond heddwch gau ydyw—yr hen *watchman* wedi cymeryd *bribe* i beidio canu'r gloch; neu ymgais ffol i gau allan y goleuni rhybuddiol a osodwyd gan y Crëawdwr daionus yn enaid y dyn; a Satan yn gwaeddi heddwch, heddwch! pryd nad oes heddwch.

(3). Eisieu *tawelwch meddwl.* "Nid oes heddwch, medd yr Arglwydd, i'r rhai annuwiol" (Esa. xlviii. 22). Nid yn unig y mae anghydfod rhyngddynt â Duw, ond y mae yna dymhestl ofnadwy yn eu mynwesau eu hunain. Hyn sydd yn peri holl drafferth poenus a pharhâus yr annuwiol i geisio dianc oddiarno ei hun. Rai blynyddoedd yn ol, dedfrydwyd dyn i Sing Sing, carchardŷ Taleithiol New York, i dreulio gweddill ei oes yno mewn caledwaith. Cawsai ei fagu yn foethus mewn llawnder; ond trwy afradlonrwydd, suddasai i dlodi a thrueni; ac o'r diwedd, trwy swynion hapchwareuaeth *(gambling)*, i dwyll ac anonestrwydd; am yr hyn y cawsai ei ddal a'i garcharu. Tystiolaeth hwnw wrth hen gyfaill a ofyna pa fodd yr oedd yn ymdaro, ydoedd, "Yr wyf yn ganolig o gysurus y dydd, er bod genyf waith caled, â'r hwn chwi wyddoch nad wyf gynefin; ond wedi fy nghau yn fy nghell unigol dros y nos, y mae yn uffern parod arnaf; oblegid yno yr wyf yn gorfod meddwl! a meddwl!! a meddwl!!! nes bod ar fin colli fy synwyrau bob mynyd. O nad allwn beidio meddwl!"

(4.) Eisieu *cysur sylweddol.* Nid yw ei holl ddychymygion am fwyniant ond breuddwyd gwag. Wedi bod trwy'r nos, megys, yn gwledda ac yn gorfoleddu, deffry tua'r boreu i deimlo mai breuddwyd oedd y cwbl, ac mai'r eisieu poenus a'r newyn du yw ei gymdeithion ef. Ah! nid oes yn y wlad bell yr un Duw i nesâu ato—dim Cyfryngwr, dim gweddi, dim gobaith, tra yn aros yno. Tystiolaeth Solomon, wedi ei holl ymchwiliadau oedd, "Mi a welais yr holl weithredoedd a wnaed dan haul, ac wele gwagedd a gorthrymder ysbryd yw y cwbl" (Preg. i. 14).

(5.) Eisieu *hyder i wynebu Duw mewn barn.* Er gwaethaf atheistiaeth ei galon, cefnogrwydd annuwiol ei gyfeillion, a'r dymuniadau dirgelaidd sydd ynddo na fyddai Duw, ni fedr lai na chredu, a chrynu weithiau hefyd, fel y cythreuliaid, wrth deimlo o'i fewn fod Duw, a'i gyfrifoldeb ofnadwy yntau iddo mewn barn. Ni fedr er dim dawelu ei feddwl mai cwsg tragywyddol yw angeu. Mae yna daranu yn ei fynwes, "Ac wedi angeu bod barn" (Heb. ix. 27), nad oes un athroniaeth gan all yn gwbl ei ddystewi.

4. *Nid oes un ffynnonell o fewn y dyn ei hun a all ei ddigoni.* Ni ddiffoddir byth yn hollol y dymuniad sydd mewn dyn i fod yn ddedwydd, er maint ei gyfeiliornadau ynghylch hyny; ac os meddylia pechaduriaid ar ryw brydiau eu bod yn ddedwydd, daw amseroedd eraill pryd y *dechreuant fod mewn eisieu*—teimlant yr eisieu, ac annigonolrwydd pob peth o fewn eu cyrhaedd eu hunain i ddiwallu y gwagder annyoddefol. Ymwybodolrwydd dyn o hyn a bâr iddo geisio rhyw ddifyrwch, fel y ceisiai Saul, brenin Israel, delynwr medrus i'w gadw rhagddo ei hun. Pan feddylio am dano ei hun, beth ydyw!—adyn euog ac aflan, wedi treulio blaenffrwyth ei ddyddiau i ryfela yn erbyn Duw; a'r wreichionen fechan sydd o'i fewn o euogrwydd cydwybod yn rhagfynegi iddo bod yn ei aros byth lŷn ofnadwy yn llosgi o'r un defnydd, ac annhraethol waeth—llid Duw! Ac fel y dywed ysbrydoliaeth Ddwyfol, "Dy ddrygioni dy hun a'th gosba di, a'th wrthdro a'th gerydda; gwybydd dithau a gwêl, mai drwg a chwerw ydyw gwrthod o honot yr Arglwydd dy Dduw" (Jer. ii. 19).

5. *Nid oes dim yn yr holl wlad y cartrefa a wna ei eisieu yn ddim llai.* Er fod Bara y bywyd yn cael ei bregethu yn eu clyw, nid oes gan drigolion y wlad bell un archwaeth ysbrydol i gymeryd o hono. Ac am yr hyn y

maent yn ei archwaethu—"Gwagedd o wagedd, medd y pregethwr, gwagedd yw y cwbl" (Preg. i. 2). Rhaid bod "gwagedd *o* wagedd" wedi ei ddyblu, yn wag iawn; er ei ddistyllio ddwywaith, nid oes yno ddim i gael ond mwy o wagedd—*ffroth gwag* yw'r cwbl! Gwlad y newyn ydyw gwlad enedigol y pechadur. Am y ddoethineb sydd yn angenrheidiol i wneyd dyn yn ddedwydd, "Y mae y dyfnder yn dywedyd, Nid yw hi ynof fi; ac y mae y môr yn dywedyd, Nid yw hi gyda myfi. Ni cheir hi er aur pur; ac nid ellir pwyso ei gwerth hi o arian," (Job xxviii. 14, 15). Nid oes dim yn yr holl grëadigaeth i'r troseddwr, ond dilyniad o adseiniau brawychus yn crochfloeddio, "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw!" (Heb. x. 31).

6. *Dechreu* bod mewn eisieu yr oedd yr afradlawn; ac felly yr annuwiol yn y byd hwn, nid yw ond *dechreu* bod mewn eisieu. Y mae dechreu ar ei eisieu, ond ni welir diwedd byth iddo. "A'r rhai hyn a ânt i gosbedigaeth dragywyddol" (Mat. xxv. 46). Heb ddychwelyd at Dduw, y mae yn anobeithiol llenwi ei eisieu yn y byd hwn. Mae yr anobaith hefyd yn cryfhâu beunydd, ac yn y byd tu draw i'r bedd selia yr anobaith â bollt dragywyddol ddi-droi-yn-ôl. Ni fêdd y byd ddim i dori ei wanc,—nid yw amser ond ei ddyfnhâu,—ac nid oes yn y tywyllwch sydd o'i flaen ond cyfnewid gwlad o newyn amserol am un tragywyddol. Goddefa llawer brinder yn o dawel yn bresennol, trwy edrych ymlaen at amgylchiadau gwell yn y dyfodol; eithr nid oes i'r annuwiol ond *dechreu bod mewn eisieu*, ac nid yw'r diffyg a deimla weithiau yn awr, ond ernes dyner o'r ddirboenfa wancus a thragywyddol sydd o'i flaen.

II. Ei ymddygiad yn ei gyfyngder: "Ac efe a aeth ac a lynodd wrth un o ddinaswyr y wlad hono; ac efe a'i hanfonodd ef i'w faesydd i borthi moch." Gwelwn yma—

1. *Nas gallai fyw yn hwy arno ei hun.* Yr oedd wedi treulio y cwbl, newyn mawr yn y wlad, a'i eisieu yn myned beunydd yn fwy annyoddefol. Fel hyn y mae y pechadur pan y treiddia y pelydryn cyntaf o argyhoeddiad ysbrydol i'w feddwl, gwêl ei fod yn golledig byth o ran ei hun, a theimla ei fod yn druenus: mae yr Ysbryd Glân megys ysbryd caethiwed iddo, yn peri ofn a dychryn; a theimla ynddo awydd ffoi rhag y llid a fydd, ond nis gŵyr i ba le.

2. *Er hyny gwell ganddo bobpeth na throi adref.* Fel cynt y mae eto,—"Pan welodd Ephraim ei lesgedd, a Judah ei archoll; yna yr aeth Ephraim at yr Assyriaid, ac a hebryngodd at frenin Jareb: eto ni allai efe eich meddyginiaethu, na eich iachâu o'ch archoll" (Hos. v. 13). At y prophwydi gwenieithgar twyllodrus yr elai Ahab yn ei gyfyngder, yn lle at Dduw. Bu yn rhaid i'r angelion ymaflyd yn nwylaw Lot a'i deulu, i'w cael o afael y perygl. Nid peth anghyffredin, hyd yn nôd dan wir argyhoeddiad, yw fod teimlad cyntaf pechadur yn ei yru ymhellach oddiwrth ei Dad boreuol, fel mewn gwallgofrwydd, i geisio dystewi llais cydwybod. Ys dywed y bardd—

**"'R oedd fflamau poeth diwaelod y pydew dwfn mawr,**
**I'w gof yn ddirgel redeg bryd arall ac yn awr;**
**Ond nis caent aros yno, fe'u gyrai hwynt i ma's,**
**Trwy loddest fawr a medd'dod, a chymdeithasau cas.***

3. *Ei ddyfais gyntaf am fywioliaeth oedd "glynu wrth un o ddinaswyr y wlad hono."* Nid ymgynghorodd â neb o'r saint, oblegid nid ydynt hwy yn ddinasyddion o'r wlad bell. Glynodd—hyny yw, gwthiodd ei hun yn ei gyfyngder ar un o'r dinaswyr, gan gynnyg ei hun i wneyd y gwasanaeth gwaelaf heb geisio unrhyw ammod fel cyflog. Dan lywodraeth Satan a phechod mae yr oll o'r wlad bell. Enwa Paul ddeg o'r dinaswyr yn canlyn eu gilydd,—"Godinebwyr, eilunaddolwyr, torwyr priodas, maswedd-wyr, gwrywgydwyr, lladron, cybyddion, meddwon, difenwyr, a chribddeilwyr" (1 Cor. vi. 9). Nid yw hyn ond deg o honynt; y maent yn llu mawr. Ceir ychwaneg o honynt gan Ioan—"Ond i'r rhai ofnog, a'r digred, a'r ffiaidd, a'r llofruddion, a'r puteinwyr, a'r swyngyfareddwyr, a'r eilunaddolwyr, a'r holl gelwyddwyr, y bydd eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan; yr hon yw yr ail farwolaeth" (Dad. xxi. 8). Un o ddinaswyr y wlad bell yw y pregethwr deddfol hefyd, a thybia rhai mai hwnw a ddylid ei olygu yn benaf yn y ddammeg; yr hwn, yn lle cyfeirio y pechadur argyhoeddedig at ei Dad am drugaredd, a'i gesyd ar waith i geisio gwneyd cyfiawnder iddo ei hun. Ond "trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnhëir un cnawd yn ei olwg ef" (1 Cor. iii. 20).

* "Theomemphus," tu dal. 10.

Mae'n wir fod egwyddorion deddfol yn llawn yn y pechadur pan ei hargyhoeddir gyntaf, a bod cryn waith i'w wneyd yn farw i'r egwyddorion hyny; a than yr amgylchiadau, y mae yn fwy tebyg y gwrandawai ar athrawiaethau deddfol nag ar yr efengyl bur yn ei alw i dderbyn Crist yn gwbl am ei fywyd. Y modd hyny y tröwyd Cristion yr hen Bunyan o'r ffordd gan y Bydolddoethyn, nes ei ddychrynu yn ôl gan fellt a tharanau Sinai.*

4. *Ei ddarostyngiad mawr.* Mab pendefig yn gwthio ei hun ar ddinaswr cyffredin—ie, yr hwn oedd, ychydig yn ol, mor fawrfrydig yn gofyn iddo ei hun y rhan a ddygwyddai iddo o'r cyfoeth mawr oedd gan ei dad, yn awr yn foddlawn i gaethwasiaeth, er mwyn rhyw fath o gysgod. Mor gywir yr arlun eto o'r dyn, yr hwn a wnaethpwyd ar lun a delw Duw, ac a gylchynwyd â digonoldeb, yn fuan fel Ahab "yn ymwerthu i wneuthur drwg." Nid oes un gwasanaeth gan Satan a phechod yn rhy wael, aflan, a ffiaidd, na cheir dynion yn barod i ymwerthu i'w gyflawni: "Brwnt yw adrodd y pethau a wneir ganddynt hwy yn ddirgel" (Ephes. v. 12). Maent yn rhy frwnt i'w gwisgo mewn geiriau; "Y rhai a ymborthant yn foethus a ddyfethwyd yn yr heolydd; y rhai a feithrinwyd mewn ysgarlad a gofleidiant y tomenydd" (Galar. iv. 5). A'u calon yn nyth pob aderyn aflan, ar domenydd y cythraul, yn barod i bob gweithred ddrwg, y ceir yn awr y rhai a grëwyd ar ddelw Duw. Mae pechod wedi gwneyd y dyn yn anghenfil—hanner cythraul a hanner anifail. Ai tybed fod modd ei adferu?

5. *Ei waith aflan:* "Efe a'i hanfonodd ef i'w faesydd i borthi moch." Gwaradwyddus iawn oedd porthi moch i'r Iuddew i'r hwn y gwaharddwyd bwyta eu cig. Yr oedd eu porthi hefyd yn waharddedig yn eu canonau—ac mewn gwlad bell, allan o Judea, yr oedd hyn yn cael ei wneyd. Fel hyn y talai'r byd i'r afradlawn. Ar ol gwario y cwbl yn ei wasanaeth, nid oedd iddo ond ceisio ennill ei damaid yn y gwasanaeth gwaelaf. Yn wahanol iawn i'n Harglwydd ni; rhydd y byd y gwin goreu ymlaenaf, ac yna wedi iddynt yfed yn dda, un a fo gwaeth, ie, gwaddodion y cwpan erchyll; ond ceidw ein Harglwydd ni y gwin goreu hyd yn ddiweddaf. Yn gyffelyb i'r afradlawn y

* Gwel "Taith y Pererin."

mae'r pechadur yn ei yrfa annuwiol, "yn rhagddarbod dros y cnawd, er mwyn cyflawni ei chwantau ef" (Rhuf. xiii. 14), y rhai ydynt yn debyg i foch. Y mae mwy o ofal ganddo dros wasanaeth ei chwantau mochynaidd na gwasanaeth y Duw a'i gwnaeth ac sydd yn ei gynnal beunydd. Y mae "yn gwasanaethu chwantau ac amryw felyswedd" (Tit. iii. 3). Dosberthir ei chwantau dan dri o benau yn y gair Dwyfol: "Chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd" (1 Ioan ii. 16). Mae lleng yn perthyn i bob dosbarth o'r rhai hyn drachefn. Eu porthi yw ceisio bwyd iddynt. Mae chwantau pechadurus dyn yn gyffelyb i foch ar amryw ystyriaethau.

(1.) Maent yn aflan iawn. Nid oes un crëadur aflanach ei gymeriad na'r mochyn. Dywed Paul am rywrai wedi eu rhoddi i fyny i "wyniau gwarthus" (Rhuf. i. 26.)

(2.) Yn wancus iawn am eu bwyd. Tröant oddiwrth bobpeth, a rhuthrant ar draws pobpeth at y cafn a'r agolch. Felly try y pechadur ei gefn ar Dduw, ei Fab, y nefoedd, a rhuthra ar draws gorchymynion y nef, yn ddiystyr o'u purdeb a'u hawdurdod, i gael porthi ei nwydau.

(3.) Yn drystfawr. Felly y chwantau, nid oes dim llonydd i'w porthydd nes cael eu gwrthddrych; ac wedi cael un saig, yn fuan iawn y maent lawn mor drystfawr am un arall.

(4.) Yn ddiofal am braidd bob peth ond eu porthiant. Nid gwaeth gan y mochyn pa le y gorwedda, na pha faint y cysgo, ond cael ei borthiant yn brydlawn. Felly yr annuwiol, nid gwaeth ganddo pa faint o'i amser gwerthfawr a dreulia mewn oferedd, ond cael boddhâd i'w chwantau. Ymddengys ei fod wedi gwneyd hyny yn brif ddyben ei fywyd.

(5.) Ystyfnig hefyd a phengaled iawn yw y mochyn. Wrth farn y llywodraetha dyn da ei achosion; ond ni wrendy chwant yr annuwiol ar gynghor na rheswm. Ni ŵyr am attalfa, ond ofn dyn ac enbydrwydd presennol. Gwnaeth eiddigedd Cain ef yn frawdleiddiad; hunangais Absalom yntau yn deyrnfradwr, ac yn agos yn dadleiddiad; ac ariangarwch Judas yn fradychwr ei Arglwydd, ac yn fab y golledigaeth, wedi bod yn "un o'r deuddeg."

(6.) Hyfion ac ëofn iawn hefyd ydynt y moch, yn anw-

edig ar eu porthwyr. Felly y chwantau, nid oes un lle yn rhy gysegredig ganddynt i ddilyn y sawl a'u porthant.

(7.) Maent yn anhawdd eu rheoli. Cymer rhai anifeiliaid, megys y ci a'r ceffyl, addysg yn rhyfeddol; ond anhawdd iawn gwthio dim addysg i ben y mochyn. "Ymchwel yr hwch wedi ei golchi, i'w hymdreiglfa yn y dom" (2 Pedr ii. 22). Felly y pechadur, rhaid cyfnewid ei natur cyn y medro gael rheolaeth dda ar ei chwantau, ac y mae yn llithro yn fynych wed'yn. Fel y sylwai pregethwr poblogaidd o Lundain yn ddiweddar, "A weli di y gath yna? Gwelaf. A weli di fel y mae hi yn llyfu ei phawenau ac yn golchi ei hunan? Gwelaf. Wel, a welaist ti fochyn o'r cut erioed yn gwneyd hyna? Na welais, ond fe allai. O gallai, ond ni wna ef ddim nes newid ei natur."* Felly y mae yn rhaid newid anian dyn cyn y daw i fyw yn dduwiol.

(8.) Ffyrnig iawn hefyd ydynt y moch pan y tröant ar eu porthwyr, os na chânt borthiant. Rhybuddiai yr Arglwydd Iesu ei ddysgyblion i ochelyd taflu eu gemau o flaen y moch, "rhag iddynt droi a'u rhwygo hwy" Mat. vii. 6. Os na cha'r moch fwyd, ymborthant, os medrant, ar y rhai fyddo yn eu bugeilio. Yn uffern, ac nid yn anaml yn y bywyd hwn, mewn henaint, cystuddiau, ac ar wely angeu, y mae'r chwantau a borthwyd mor foethus yn troi i rwygo eu perchenogion, ac heb fodd yn y byd i'w tawelu, mwy nag yr oedd yn bosibl oeri tafod y gŵr goludog, "yn y fflam boeth a'r tanllyd ffwrnes." Cofiwn wrth borthi ein chwantau, y daw amser y "troi a rhwygo," os cânt hwy y llywodraeth.

6. Canfyddir yn y testun, ymhellach *dlodi yn gystal a gwarthusrwydd gwasanaeth yr afradlawn:* "Efe a chwennychai lenwi ei fòl â'r cibau a fwytâi y moch; ac ni roddodd neb iddo." Gwasanaeth gwael, gwaeth na chaethwasiaeth, ydyw yr hwn na rydd ddigonedd o fwyd i'w llafurwyr; a thlawd iawn ydyw gorfod gweithio am fwyd yn unig; ond methai yr afradlawn a chael hyny. Ac er ei bod mor gyfyng arno, fel y gorfyddai iddo geisio gwareiddio cnofeydd y newyn tost â'r cibau gwaelion a fwytâi y moch, ni roddodd neb iddo. Yn ol fel y sylwa Calfin, medd Dr. Gill, gellir darllen y geiriau—"*Canys ni rodd-*

* Spurgeon's Sermons.

*odd neb iddo.*" Hyny oedd y rheswm ei fod yn ceisio llenwi ei fòl â'r cibau; canys ni roddodd neb ddim bara, neu ymborth priodol, iddo. Ni roddodd neb iddo—na meistr, na chydweision, na chymydogion, na neb. Yr oedd wedi ymadael â gwlad y "*trugarogion.*" Ni fedr trigolion y wlad bell gydymdeimlo: "Tosturi y drygionus sydd greulawn." Dywedir nad oes neb yn wir dlawd nes yr elo yn dlawd o gyfaill; yr oedd yr afradlawn erbyn hyn yn dlawd o gyfaill. Mor ddyeithr yr ä cyfeillion y tafarndŷ, y noson lawen, a'r chwareudŷ, i'r annuwiol yn ei gyfyngder. O'r braidd yr ymwêl ambell un yn llechwrus â'i ystafell wely yn ei gystudd diweddaf; ac er ei weled yn trengu, wedi methu llenwi ei fòl â'r cibau, ni rydd neb o honynt hwy ddim cysur sylweddol iddo; ac ni fydd yr olwg arnynt ond adgof poenus i'r adyn truenus o'i fywyd gwrthryfelgar yn erbyn Duw.

III. OfeREDD EI YMCHWILIADAU AM GYSUR AC YMGELEDD TRA YMHELL ODDIWRTH EI DAD A'I GARTREF BOREUOL: "Ac efe a chwennychai lenwi ei fòl â'r cibau a fwytâi y moch; ac ni roddodd neb iddo."

Cawn yma dri pheth—cibau, gwegi y cibau, ac eithafion anghen tlodi.

1. Y cibau, neu godau a fwytâi y moch: wrth yr hyn, mewn ystyr ysbrydol, y gallwn olygu gwrthddrychau serch, ymofyniad, ac ymlyniad y byd yn gyffredinol—megys golud, derchafiad, a difyrwch cnawdol, &c.

2. Gwegi y cibau: "Efe a chwennychai lenwi ei fòl â'r cibau." Ond chwennychiad ofer oedd; nid bara, na'r hyn sydd yn digoni, ydyw gwrthddrychau y byd. Rhaid i enaid anfarwol gael pethau o natur uwch. Ac fel yr ymresymai yr Arglwydd, yn Esaiah (pen. lv. 2), y mae yn parhâu i ofyn, "Paham y gweriwch arian am yr hyn nid ydyw fara? a'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni? Gan wrandaw, gwrandewch arnaf fi, a bwytewch yr hyn sydd dda, ac ymhyfryded eich enaid mewn brasder." Nid oes dim bwyd yn mhethau goreu yr annuwiol. Tra mae y "glân ei ddwylaw yn ychwanegu cryfdwr," mae yr annuwiol yn myned wanach wanach i farw. Wedi pedwar ugain mlynedd o wledda ar ddanteithion y byd—ei bleser, ei enw, a'i aur, y mae yn crynu gan wendid, pan y deallo fod yn rhaid iddo wynebu'r farn. Gwnaed calon dyn i fwynhâu Duw, ac nid oes dim arall a all ei digoni.

Gallwn ymhelaethu ar y cibau a'u gwagder. Nid oes modd digoni—

(1.) Mewn cyfoeth lawer: "Y neb a garo arian, ni ddigonir âg arian" (Preg. v. 10). Cof genyf enghraifft nodedig o hyn, rai blynyddoedd yn ol, yn New York. Cyfnewidiwr arian enwog, yn gwneyd masnach yn *Wall Street*, wedi casglu yr hyn a farnai yn ddigon o arian i fyw yn annibynol mewn esmwythdra y gweddill o'i oes, a adeiladodd iddo ei hun drigfan ysplenydd, ac a'i dodrefnodd â phob anghenrhaid er ei gysur a'i ddyddanwch; yna rhoddodd heibio ei fasnach, ac elai yn ol ei fwriad i fwynhâu ffrwyth ei lafur a'i lwyddiant. Ond och! prin y bu wythnos yn ei baradwys ddychymygol, nes iddo droi yn *hunanleiddiad*. Gwnaeth derfyn ar ei yrfa ddaearol trwy saethu ei hun; yn enghraifft nodedig o annigonolrwydd cyfoeth mawr i wneyd dyn yn ddedwydd. Gwelais hefyd liaws o enghreifftiau eraill. Un Cymro yn Dodgeville, Wisconsin, ar ei ddychweliad o Galiffornia; yr oedd ganddo gydag ef ar ei wely angeu werth amryw gannoedd o'r llwch aur. "Ond beth ydw i well," gruddfanai, "o'r aur hwn. Gwerthais fy nghysur a'm breintiau crefyddol er mwyn y llwch hwn; ac yn awr yr ydwyf yn marw, nid yw ddim defnydd i mi." Nis gall coron o aur wellhâu cur mewn pen. Cibau gweigion ydynt yr holl aur ac arian i ddiwallu enaid anfarwol. Cafwyd enghraifft nodedig o anfuddioldeb aur mewn cyfyngder, yn llongddrylliad diweddar y "*Central America*," ar ei thaith o wlad yr aur. Dywedid gan lawer a ddiangasant o'r trychineb arswydlawn hwnw, mai yn anfynych yr oedd cymaint o arian yn meddiant y teithwyr ag ar yr adeg hono. Yr oedd llawer o honynt yn ddynion cyfoethog iawn; ac nid oedd ond ychydig nad oedd eu cyfoeth o'u cwmpas yn gannoedd, tra yr oedd yno lawer yn rhifo eu haur wrth y miloedd. Mŵnwyr yn dychwelyd, oedd y rhan fwyaf o'r teithwyr—rhai yn dyfod yn ôl i ddefnyddio eu hennill mewn ffordd ag a roddai fywyd o esmwythra iddynt, ac eraill i geisio eu teuluoedd, a dychwelyd yn ôl drachefn i Califfornia. Ond fel y parhâi y dymhestl i ymgynddeiriogi, llai lai y meddylid am yr aur; a phan, ar ddydd Sadwrn, y delai yn amlwg ei bod yn debygol ar unrhyw fynyd iddynt gael eu claddu dan y tònau, ymddihatrai dynion cyfoethog o'u gwregys-drysorau, a thaflent yr aur ar y lloriau, gan ddyweyd am i bwy

bynag a ewyllysiai ei gymeryd, rhag i'w bwysau eu suddo a bod yn angeuol iddynt. Codau llawnion, yn cynnwys miloedd o ddoleri, a adewid yn ddïystyr ar yr esmwythfeinciau. Agorid eu cydau gan ddynion, ac arllwysid y fetel ddysglaer ar y llawr gydag afradlonedd anobeithiol angeu. Un o'r teithwyr, yr hwn oedd ymhlith yr ychydig a achubwyd, a agorodd ei gŵd, ac a dywalltodd ar hyd llawr y caban ugain mil o ddoleri mewn llwch aur, ac a ddywedodd am i'r hwn a ddewisai foddhâu ei wanc âg aur ei gymeryd; ond elid heibio iddo mor ddisylw a llwch y lloriau. Fel hyn hefyd y sylwa Brooks, yn ei "*Afalau Aur*," ar gyfoeth:—"Mewn perthynas i gyfoeth, y mae athronyddion wedi ei ddirmygu, a dewis bywyd myfyriol o'i flaen; ac oni ddylai Cristionogion yn llawer mwy? Y prophwyd a'i geilw 'y clai tew,' yr hwn a dŷr y cefn cyn y gwella'r galon. Nis gall wella'r cnawd, ac nis gall gyfoethogi yr enaid. Och! gynifer o eneidiau noethlymunod a geir dan wisgiadau a mantelli sidan! Mynych iawn y mae cyfoeth y byd yn gyffelyb i'r dïenyddwr! y maent yn gorchuddio gwyneb y dyn, fel na welo ei ddiwedd, ac yna yn ei grogi. Ac os na chrogant chwi, gadawant chwi heb fod yn hir. 'Golud yn ddiau a gymerant adenydd, ac a ehedant ymaith.' Pan oedd marsiandwyr yn canmawl golud a chyfoeth, 'Nid wyf yn caru y golud hwnw,' ebe Pagan, 'sydd yn crogi ar raffau; os tŷr y rhaffau, metha'r llong, a chollir y cwbl.'"

(2.) Derchafiad bydol. Dygwyddais unwaith tua'r flwyddyn 1840, fod yn cyd-deithio â phump ar hugain o benaethiaid Indiaidd, o lwythau hanner-wareiddiedig y Mynyddoedd Creigiog. Gwisgai un o honynt bluen fechan yn ei *gap* croen ar ei dalcen, yn ei ddynodi fel o radd uwch na'r lleill; prin y gallai mewn canlyniad ymddyddan â'r lleill, ac o'r braidd y goddefai i'w draed gyffwrdd â'r ddaear wrth gerdded. Beth ydyw holl enw y byd, ond pluen? Geill dyn farw fel Herod, dan farn Duw, er cael ei addoli gan ddynion. Yn ol yr hen draddodiad, wylai Alexander Fawr wedi gorchfygu'r byd, am nad oedd byd arall i'w orchfygu. Gwrthddrych yr holl orchestion hunangeisiol nid ydynt ond cibau gweigion.

(3.) Mwyniant cnawdol: "Mwyniant pechod dros amser" (Heb. xi. 25). Derfydd y mwyniant uchaf yn y mwynhâd. Yr hyn a brawf annigonolrwydd pleserau'r

annuwiol yw, fod yn rhaid eu newid yn aml. Mae'r duwiol wedi cyfarfod â mwyniant yn nghymdeithas ei Dad, nad oes arno eisieu ei newid byth—ei holl gais ydyw parhâd o'r un peth; ond gorfydd i'r annuwiol fyned o'r noson lawen i'r chwareudŷ, ac o'r chwareudŷ i'r puteindŷ, ac oddiyno i'r tafarndŷ; a rhaid newid y chwareuon yn fynych, gan mor fuan y diflasant. Un Xerxes, yn ei deimlad adrwydd o wegi y cibau, a gynnygiai wobr fawr am ddyfeisio pleser newydd.

(4.) Proffes o grefydd. Hon yw y glustog ar ba un y rhoddir llawer cydwybod euog i hepian; ond deffry i deimlo fod y lampau yn diffoddi, pan y byddo'r anghen yn fwyaf am danynt. Mae ambell grynfa (fel dyn yn rhoi naid yn ei gwsg) yn ei rybuddio nad yw pob peth ddim yn dda yn awr.

(5.) Diwygiad allanol. Ni ddigona hyn ychwaith, er y tawela rhai fe allai dros amser; rhaid y byddant yn teimlo diffyg yn eu bratiau budron wrth nesâu at oleuni'r farn. Rhaid i'n cyfiawnder fod yn helaethach nag eiddo y dynion manylaf ar y ddaear, cyn yr awn i deyrnas nefoedd (Mat. v. 20). Rhaid i ni gael cyfiawnder Adda yr Ail yn feddiant i ni.

3. *Eithafion ei dlodi a'i anghen:* "Ni roddodd neb iddo." Felly y mae yr annuwiol yn ei gyfyngder, mewn ystyr ysbrydol.

(1.) Nid oes gan ei gyfeillion blaenorol ddim i'w roddi iddo. Y mae yn ymwybodol o hyny; o herwydd hyny, nid cyfeillach cymdeithion llawen y tafarndŷ, y ddawns, na'r chwareudŷ, a geisiant i'w ystafell wely yn ei oriau olaf. Cynnygiwch iddo y gwpan, y delyn, y butain—ïe, dangoswch iddo y gweithredoedd cedyrn dros ei dai a'i diroedd sydd yn perthyn iddo, ofer yw'r cwbl. "Palla chwant" (Preg. xii. 5).

(2.) Nid oes gan y duwiol ddim dros ben. Yn fynych y ceisir dynion duwiolaf yr ardal at ochr gwely yr annuwiol wrth farw; a mwynhâ yr adyn tlawd rhyw dawelwch amserol tra y byddont yn ei wydd weithiau.* Ond "rhoddwch i ni o'ch olew chwi, canys y mae ein lampau yn diffoddi," ydyw llais crynedig y truan, sydd â'i wyneb

* Clywsom rai, yn y *delirium tremens*, yn tystio eu bod yn cael llonydd gan y drychiolaethau brawychus, tra y byddem yn darllen ac yn gweddïo gyda hwy; er na byddent ddim gwell wedi hyny.

yn glasu gan ddychryn y Gŵr, yr hwn a'i geilw yn amlwg erbyn hyn: "Dyro gyfrif o'th oruchwyliaeth." Eithr nid oes gan y dynion duwiolaf ond eu cyfeirio at Dduw yn Nghrist, am fywyd ac iachawdwriaeth. "Ewch yn hytrach," meddant, "at y rhai sydd yn gwerthu, a phrynwch i chwi eich hunain" (Mat. xxv. 8. 9.)

(3.) Nid ânt at Dduw, gan yr hwn yn unig y mae modd i ddiwallu eu hanghen a'u heisieu. Mae yr hen ragfarn yn parhau: "Mi a'th adwaenwn mai gŵr caled ydwyt." Er na chafodd ond tynerwch mawr o'r bru gan y Trugarog a'r Graslawn, a'i fod wedi cymeryd ei lŵ nad yw yn hoffi ei farwolaeth, eto ni fyn gredu; coledda yr hen ragfarn ddinystriol, a bydd farw yn ei ystyfnigrwydd, yn grëadur euog, gwrthryfelgar, truenus, a thlawd.

Gwelwn oddiwrth yr hyn sydd yn blaenori—

1. Mai goriwaered serth ydyw'r ymadawiad â Duw, ac mai suddo yn ddyfnach, a chaledu yn waeth, sydd yn natur pechod. Ac nid yw y diwedd eto. Nid yw yr annuwiol ond *dechreu* bod mewn eisieu yn y byd hwn; y mae tragywyddoldeb o fod mewn eisieu o'i flaen!

2. Gwell gan bechadur yn ei gyfyngder bob peth na dychwelyd yn edifeiriol at ei Dduw, yr unig un a all ei waredu.

3. Gwaeledd y gwasanaeth uchaf sydd gan y byd i'w roddi iddo.

4. Er hyny fod gobaith tra mae bywyd—hyd yn nôd pan yn trengu o newyn wrth gafnau'r moch. Mae'r efengyl eto yn galw, ie o'r wlad bell, ac ar y penaf o afradloniaid. Ond cofiwn bod ganddi hi ei dydd. Barn rhai yw, fod dydd gras ambell yn darfod cyn dydd ei fywyd. Modd bynag llais y cwbl yw, "Ceisiwch yr Arglwydd tra galler ei gael ef; a gelwch arno tra fyddo yn agos." (Esa. lv. 6). "Wele yn awr yr amser cymeradwy: wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth." Dychwelwn gan hyny, "tra y gelwir hi heddyw!" Amen.

# PREGETH IV.

## IESU AR DDEHEULAW DUW.

## GAN Y PARCH. W. WILLIAMS, ABERTAWE.

**"Yr Hwn sydd ar ddeheulaw Duw, wedi myned i'r nef; a'r angelion, a'r awdurdodau, a'r galluoedd, wedi eu darostwng iddo."—1 PEDR iii. 22.**

NID yw yn ymddangos fod perthynas anghenrheidiol rhwng yr adnodau o flaen y testun â'r pwnc ar ba un y mae yr Apostol yn ysgrifenu. Fe fyddai rhyw ddrychfeddwl yn cael ei gyrbwyllo weithiau i'r ysgrifenwyr sanctaidd gan ryw *air* ag y byddent yn ei ddefnyddio; ac y maent yn myned ar ol y meddwl hwnw, yn ymhelaethu arno i fesur mwy neu lai, cyn dychwelyd at y pwnc neillduol ar ba un yr oeddynt yn ysgrifenu. Cawn amryw esiamplau o hyny yn epistolau Paul; ac y mae yma beth o'r un natur, yn epistol Pedr.

Y mae wedi son am farwolaeth ac adgyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist: "Oblegid Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn (fel y dygai ni at Dduw), wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhâu yn yr Ysbryd." Fe fu farw fel dyn, fe ddarfu i'r hyn oedd ddynol ynddo ddyoddef a marw. Fe fu ei gorff farw—fe'i hysgarwyd oddiwrth ei enaid; ac fe aeth ei enaid trwy y cyfnewidiad hwnw ag y mae eneidiau yn myned trwyddo yn angeu. Fe'i gwahanwyd oddiwrth y corff; fe fu am amser mewn sefyllfa o fodolaeth ar wahan oddiwrth ei gorff. Yr oedd ei gorff yn y bedd, ac yr oedd ei enaid yn rhywle y pryd hwnw. Nid oes un dyn a ŵyr ymha le, ond 'doedd e' ddim yno. Eithr fe ailunwyd ei gorff â'i enaid; fe'i gwnaed yn fyw drachefn, trwy rinwedd a nerth ei Berson Dwyfol; fe'i "bywhäwyd yn yr Ysbryd." Y mae cysylltiad naturiol rhwng hyn a'r testun; oblegid y peth nesaf ydoedd myned i'r nef, ac eistedd ar ddeheulaw Duw. Ond yr oedd gan yr Apostol ychwaneg i'w ddywedyd am yr Ysbryd.

Yr ydoedd yr Ysbryd, am ba un y sonia, mewn bod cyn ei ymddangosiad ef yn y cnawd. Yr oedd natur Ddwyfol y Gwaredwr yn bod yn nyddiau Noah. Yr oedd Noah yn "bregethwr cyfiawnder" yn ei ddydd, a'r Ysbryd hwn oedd yn ei gynhyrfu ef i bregethu. Fe bregethodd i'r cynddiluwiaid pechadurus, ond yn aneffeithiol. "Hwy a fuont anufudd." Fe ddangosodd Duw hir amynedd mawr tuag atynt, ond fe'u dinystriwyd o'r diwedd gan y diluw, ac y mae eu hysbrydion yn awr yn medi o ffrwyth yr hyn a hauasant yn y corff. Y maent yn "ysbrydion yn ngharchar."

Fe ddarfu iddynt hwy gael eu dyfetha, fel y soniwyd; ond fe ddarfu i Noah a'i deulu—wyth o gwbl—gael eu hachub, ac yn yr arch y cawsant eu hachub. Oni buasai yr arch, nid oes lle i gredu y buasent hwy yn dianc mwy na dynion eraill. Ac yr oedd yr arch yn cael ei chynnal ar yr wyneb gan y dwfr. Fel hyn, fe fu y peth oedd yn foddion dinystr i bawb eraill, i Noah a'i deulu yn foddion achubiaeth.

Y mae hyn yn arwain yr Apostol i son am y peth sydd yn ein hachub ni, sef bedydd. Y mae siarad neu ysgrifenu bythol am ddyfroedd y diluw, yn arwain ei feddwl at ddyfroedd y bedydd. Yr oedd rhywbeth a wnelai y dwfr âg achubiaeth Noah, ac y mae rhywbeth a fyno bedydd â'n hachubiaeth ninnau. Nid y ddefod, cofier, ond yr orchwyliaeth sancteiddiol hono o ba un y mae y ddeffod yn arwydd. A'r hyn sydd yn rhoddi effeithioldeb i'r cwbl yw "adgyfodiad Iesu Grist, yr Hwn sydd ar ddeheulaw Duw, wedi myned i'r nef," &c. Y mae yr Apostol bellach, ni a welwn, wedi dychwelyd at ei destun, ac y mae yn ei ddilyn. Y mae yn myned yn y blaen i ddywedyd, "Yn gymaint a dyoddef o Grist drosom ni yn y cnawd, chwithau hefyd byddwch wedi eich arfogi â'r un meddwl."

Amcan yr Apostol yn y cwbl ydoedd cysuro a chalonogi y brodyr at y rhai yr ysgrifenai, yn ngwyneb y cystuddiau a'r erlidigaethau yr oeddynt yn gorfod eu dyoddef. Yr oeddynt yn gorfod dyoddef, ond ar yr un pryd yr oeddynt yn ddedwydd yn eu dyoddefiadau, oblegid yr oeddynt yn dyoddef mewn achos da; yr oeddynt yn dyoddef o achos cyfiawnder. Nid oedd eisieu iddynt, gan hyny, ofni rhag ofn dynion, na chymeryd eu cynhyrfu. Bydded iddynt ofalu na chaffai eu cydwybod achos i achwyn arnynt, ac

yna hwy a allent feiddio gwaethaf dynion. Pan fyddo dyn mewn heddwch â'i gydwybod, nid oes achos iddo fe fod mewn pryder mawr, pe byddai yr holl fyd yn cyhoeddi rhyfel yn ei erbyn.

Ac nid hwy oedd y cyntaf i ddyoddef. Y mae ar ddynion fwy na mwy o ofn myned trwy amgylchiadau nad aeth neb trwyddynt erioed o'r blaen. Pan fyddwch yn ceisio cael defnydd cysur i rywun mewn helbul, y peth cyntaf oll ag y byddwch yn ceisio cofio am dano yw rhywun a fydd wedi bod yn y fath helbul, neu o bydd bosibl, gwaeth helbul, o'i flaen ef. Cysurwyr gofidus ydoedd cyfeillion Job, a'r peth penodol oedd yn eu gwneyd felly ydoedd, eu bod yn dywedyd wrtho eilwaith ac eilwaith nad oedd dyn da wedi bod yn yr un amgylchiadau ag ef erioed o'r blaen. Ond yr oedd yr Apostol yn dywedyd wrth y brodyr hyn nad oedd dim newydd yn dygwydd iddynt hwy pan yr oeddynt yn dyoddef. Yr oedd Crist wedi dyoddef o'u blaen hwy. Dilyn ei ôl ef yr oeddynt wrth wneuthur daioni, ac nid oeddynt yn colli y llwybr pan yn dyoddef oblegid daioni. Ac wedi ei ddilyn ef mor bell, hwy a gânt barhâu i'w ddilyn ef. Wedi bod gyda Christ yn gwneuthur daioni, a chydag ef yn dyoddef am wneuthur daioni, ni bydd i'r gymdeithas rhyngddynt âg ef ddybenu yn y fan hyny. Fe ddarfu i ddyoddefiadau Crist orphen yn ogoneddus; fe orphen eich gofidiau chwithau yr un fath. Y mae Crist wedi myned i'r nefoedd; fe ddaw yr amser pan y cewch chwithau fyned i'r nefoedd hefyd. "Yr Hwn sydd ar ddeheulaw Duw, wedi myned i'r nef."

Y mae y testun yn dangos,—

I. Fod ein Harglwydd Iesu Grist wedi myned i'r nefoedd. Efe a fu ar y ddaear fel yr ydym ninnau yma,—yn bwyta ac yn yfed; yn myned oddiamgylch, ac yn llefaru fel ninnau; ac yn dyoddef mwy na ni oll. Ond bellach nid yw i'w gael yn un man ar y ddaear, y mae wedi myned i'r nef. Y mae y nefoedd gan hyny yn *lle*, ac y mae Iesu Grist wedi myned yno. Pan oedd ar y ddaear, fe aeth yn fynych i Jerusalem; fe aeth i Samaria; fe aeth i wlad y Gadareniaid. Yr oedd yn myned o amgylch, gan wneuthur daioni. Lle bynag yr elai, yr oedd yn myned â bendith gydag ef. Ac yn ddiweddaf oll, wedi gorphen ei waith, fe adawodd y ddaear, ac a aeth i'r nef-

oedd. Nid oedd wedi myned yno yn hir iawn cyn yr amser yr ysgrifenai Pedr fel hyn. Yr oedd efe wedi ei weled yn myned, ac yr oedd y peth yn newydd ar ei feddwl. Yr oedd yr olygfa wedi ei hargraffu yn ddofn ar ei feddwl ef, oblegid yr oedd yn un o'r rhyfeddaf o'r holl bethau rhyfedd a welsai tra yn nghymdeithas yr Iesu. Fe ddarfu iddo ef a'i gyd-ddysgyblion fyned allan gyda'r Iesu càn belled a Bethania ar Fynydd yr Olewydd. Yr oeddynt yn dysgwyl fod rhywbeth rhyfedd ar gymeryd lle, a hwy a ofynasant iddo, "Ai y pryd hwn y rhoddi drachefn y freniniaeth i Israel?" Fe awgrymodd iddynt nad oedd yn perthyn iddynt hwy i wybod hyny—y byddai iddynt dderbyn yr Ysbryd Glân cyn nemawr o ddyddiau, ac y cawsent wybod y pryd hwnw bob peth ag oedd yn angenrheidiol. Fe ddywedodd wrthynt pa beth oedd ganddynt i'w wneyd ar ol eu donio fel hyn. "A chwi a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem, ac yn holl Judea, ac yn Samaria, ac hyd eithafoedd y ddaear. Ac efe a ddyrchafodd ei ddwylaw, ac a'u bendithiodd hwynt. Ac fe ddarfu, tra yr oedd efe yn eu bendithio hwynt, ymadael o hono ef oddiwrthynt, ac efe a ddygwyd i fyny i'r nef." Nid mewn rhyw lewyg yr oeddynt, fel y buasai rhai o honynt ar fynydd y gweddnewidiad; ond yr oeddynt yn effro, ac yn ymwybyddus, yn gwrando ar eiriau yr Iesu, ac yn edrych arno. "Ac a hwynt-hwy yn edrych, efe a ddyrchafwyd i fyny; a chwmwl a'i derbyniodd ef allan o'u golwg hwynt." Ac i wneyd y peth yn fwy diammheuol fyth, fe ddaeth dau angel i waered o'r cwmwl, ac a ddywedasant wrthynt ei fod wedi myned i'r nef.

Yr oedd yn dda gan yr apostolion feddwl fod Iesu Grist wedi myned i'r nef. Yr oedd yn hoff ganddynt siarad am hyny. Awgrymodd Pedr ar ddydd y Pentecost ei fod ef wedi myned yno—a dywedai drannoeth fod yn "rhaid i'r nefoedd ei dderbyn, hyd amseroedd adferiad pob peth." Dacw Stephan, yn cael ei amgylchu gan erlidwyr digllawn, yn edrych at Iesu am gymhorth. Y mae yn naturiol yn edrych i fyny tua'r nef, ac "fe welai ogoniant Duw, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Duw." Y mae ein Harchoffeiriad mawr ni, meddai Paul, wedi myned i'r nefoedd. Pan ddarfu iddo fyned, efe a aeth â'u calonau hwy yno gydag ef. O'r pryd yr aeth *Efe* yno, yr oedd eu trysor hwy yn y nef; ac o ganlyniad yr oedd eu calon yno

hefyd. Tra yr ydoedd efe ar y ddaear, hwy a fyddent weithiau yn ymryson â'u gilydd ynghylch pa un fyddai fwyaf. Yr oeddynt yn chwennych eistedd, un ar ei law ddehau, a'r llall ar ei law aswy, yn y freniniaeth ddaearol ag yr oeddynt hwy yn tybied ei fod yn myned i'w sefydlu; ond o'r pryd yr aeth efe i fyny, yr oedd eu hymarweddiad hwy yn y nefoedd. Am y nefoedd yr oeddynt yn meddwl; am y nefoedd yr oeddynt yn siarad; tua'r nefoedd yr oeddynt yn cyrchu; y nefoedd oedd pob peth iddynt hwy o hyny i maes, oblegid yr oedd Iesu Grist wedi myned i'r nefoedd.

Y mae y geiriau yn ein harwain i feddwl am fynediad ein Harglwydd Iesu Grist i'r nefoedd. Nis gallwn lai na meddwl am dano Ef yn y weithred o fyned i mewn trwy y porth i'r ddinas ogoneddus. Yr ydym yn teimlo tuedd i geisio tynu rhyw ddesgrifiad o'r olygfa ogoneddus hono; ond yn ymattal oblegid ein bod yn gwybod fod hyny yn anmhosibl. Y mae y nefoedd bob amser yn annesgrifiadwy. Pan na byddo yno ddim mwy nag arferol y mae ei gogoniant tu hwnt i bob amgyffrediad o eiddo dyn. Pa faint mwy y rhaid ei bod felly ar y foment ryfedd hono pan oedd Mab Duw, yn cael ei hebrwng gan angelion, yn cael ei roesawu gan angelion eraill, yn cael ei roesawu gan dyrfa aneirif o feibion a ddygasai i ogoniant, yn cael ei roesawu gan y Tad ei hun, yn myned i mewn iddi! Yr oedd *stir* yn y nefoedd y pryd hwn—yr *oedd* yno ganu, yr *oedd* yno orfoledd, na fêdd y ddaear ddim iaith i'w desgrifio, ac na fêdd neb sydd ar y ddaear feddwl i'w hamgyffred. Nid wyf yn ammheu na chawn ni ddesgrifiad llawn o'r olygfa ogoneddus pan fyddwn yn fwy galluog i ddeall y cwbl nag yr ydym yn awr. Y mae yno filoedd o frodyr i ni ddarfu weled y cwbl; brodyr ddarfu gymeryd rhan yn yr orymdaith—brodyr y bydd yn dda ganddynt adrodd yr holl hanes i ni ar ol i ni fyned yno. Ac fe fydd yr hanes yn ddyddorol yn y fan lle cymerodd y cwbl le. Hwy a allant ddangos i ni y porth trwy ba un yr aeth efe i mewn. Hwy a allant ddangos i ni yr heol ar hyd yr hon y symudai yr orymdaith ogoneddus. Hwy a allant adrodd pa beth yr oedd pob un yn ei ddywedyd, a pha fodd yr oedd pawb yn canu. Fe fydd hyny yn hapus. Bydd clywed yr hanes yno unwaith yn anfeidrol fwy na digon o dâl am yr holl ofidiau yr ydym

yn myned trwyddynt ar y ffordd tuag yno. Y mae yn rhyfedd ein bod yn glynu cymaint wrth y byd hwn, pan y mae y fath ddedwyddwch yn ein haros yn y byd a ddaw. Ond hyd hyny, a thra yr ydym yn aros am hyny, rhaid i ni foddloni ar yr hysbysiad syml yn y testun: "Y mae wedi myned i'r nef."

1. Efe a aeth i'r nef *i ddwyn yn y blaen ac i berffeithio y gwaith a ddechreuasai ar y ddaear.* Efe a ddaeth i'r ddaear i wneyd ac i ddyoddef yr hyn oedd anghenrheidiol ei wneyd a'i ddyoddef yma, ac efe a aeth i'r nefoedd i wneyd yr hyn sydd anghenrheidiol i'w wneuthur yno. Pan ddywedodd efe "gorphenwyd" ar y groes, nid ydym i ddeall fod pob peth anghenrheidiol er ein llawn brynedigaeth wedi ei orphen. Y peth oedd Efe yn ei feddwl ydoedd, fod ei waith ef ar y ddaear wedi ei orphen. Yr oedd yn rhaid iddo ddisgyn, ac yr oedd wedi disgyn. Yr oedd yn rhaid iddo ddyoddef, ac yr oedd wedi dyoddef. Yr oedd yn rhaid iddo farw, ac yr oedd ar fin marw. Y mynyd y dywedodd efe "gorphenwyd," efe a ogwyddodd ei ben, ac a roddes i fyny yr ysbryd. Ond yr oedd rhywbeth idd ei wneyd eto yn y nefoedd, ac efe a aeth i'r nefoedd i ddwyn hyny yn y blaen. "Yr Hwn a ddisgynodd yw yr Hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawnai bob peth." Tra yr ydoedd efe yn disgyn yr ydoedd yn cyflawni. Ni ddarfu iddo gymeryd un cam gwag. Fe gyflawnodd yr hyn ydoedd wedi ei ysgrifenu; fe gyflawnodd yr hyn oedd wedi ei fwriadu. Ni osododd ei droed yn un man lle nad oedd yn gweled ôlion yr arfaeth. Pan ddywedodd efe "gorphenwyd," dyna oedd efe yn ei feddwl—"Y mae y disgyn wedi gorphen; esgyn sydd i fod yn awr. Y mae fy llwybr hyd yn hyn wedi bod tuag i waered, o hyn allan y mae i fod tuag i fyny;" ac i fyny yr aeth. Y mae wedi myned i'r nef.

Efe yw ein Harchoffeiriad mawr ni. Yr oedd gan yr archoffeiriad gynt ddyledswyddau i'w cyflawni yn y cysegr sancteiddiolaf, yn gystal ag yn y tabernacl ac yn y cyntedd. Yr oedd i ladd yr aberth, ac i wneuthur cymmod y tu allan; ac yna yr oedd yn rhaid iddo fyned i mewn i'r sancteiddiolaf i gyflwyno y gwaed ger bron Duw. Cysgod oedd hyn i gyd: yr oedd wedi ei ordeinio i ragddangos yr hyn oedd i'w wneuthur, a'r hyn sydd yn awr *wedi* ei wneuthur, gan ein Harglwydd Iesu Grist. Wedi offrymu

ei hun—wedi gwneuthur cymmod, y mae yn awr wedi myned i mewn i'r "gwir gysegr, yn ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd." Gallasai plant Israel, er calondid i'r naill a'r llall, ac er mwyn dangos fod yr archoffeiriad yn myned yn y blaen yn llwyddiannus gyda ei waith, ddywedyd wrth eu gilydd—"Y mae efe *wedi* lladd yr aberth; y mae efe *wedi* gwneuthur cymmod; ac yn awr y mae *wedi* myned i mewn i'r sancteiddiolaf." Ninnau a allwn ddyddanu ein gilydd âg ymadroddion fel hyn: "Y mae ein Harchoffeiriad mawr ni *wedi* offrymu ei hun; *wedi* gwneuthur iawn; ac yn awr y mae *wedi* myned i'r nefoedd i ymddangos ger bron Duw drosom ni. Rhyfedd mor agos i'r nefoedd y mae Iesu Grist wedi dwyn y ddaear! Y mae efe yn gwneyd pob peth yn ei iawn bryd, ac yn ei iawn fan: gwaith y ddaear ar y ddaear, a gwaith y nefoedd yn y nefodd; ac y mae felly yn cysylltu y nefoedd a'r ddaear yn anwahanol wrth eu gilydd, oblegid gwahanol ranau yr un gwaith y mae yn ei wneuthur yn y ddau. Y mae Paul yn enwi y cwbl yn un rhes. "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr Hwn a fu farw; ïe, yn hytrach yr Hwn a gyfodwyd, yr Hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr Hwn hefyd sydd yn eiriol drosom ni." Fe wnaeth Iesu Grist un deml o'r nefoedd a'r ddaear, ac o fewn y deml hono y mae yn dwyn yn y blaen, o'r dechreu i'r diwedd, waith mawr ein hiachawdwriaeth ni. Fe wnaeth y ddaear yn gysegr; y nefoedd yw y cysegr sancteiddiolaf. Y maent yn y fan hyny ar bwys eu gilydd. Pe buasid yn gofyn i Israel, pan oedd yr archoffeiriad yn y cysegr sancteiddiolaf, "A yw eich harchoffeiriad wedi myned ymhell oddiwrthych?" hwy a fuasent yn ateb, "Na, nid yw ymhell. Nis gallwn ni fyned ato yn awr, ond nid oblegid y pellder y mae hyny; chwi a welwch y llèn yna—dyna i gyd sydd rhyngom ni ac yntau." A yw Iesu ymhell oddiwrthym ni? Nac ydyw, fy mrodyr. Y mae wrth law; y mae yn ein clywed yn siarad. Fe all beri i ni ei glywed yntau; ni a allwn gynnal cymdeithas yn awr â'n gilydd. Y mae y tu hwnt i'r llèn yna; dyna i gyd. Yr ydym ni yn y cysegr; y mae yntau yn y cysegr sancteiddiolaf: cymaint a hyny yn unig o bellder sydd rhyngom. Càn belled a hyny yn unig yr aeth ein Gwaredwr oddiwrthym pan aeth efe i'r nef.

2. Fe aeth i'r nef *fel gwobr ei waith ar y ddaear*. Y mae

y Tad wedi cael cyflawn foddlonrwydd ymhob gair, a ddarfu iddo ei ddywedyd, ymhob peth a ddarfu iddo ei wneuthur, pan ydoedd yn y byd hwn. Fe ogoneddodd y Tad ar y ddaear; fe gwblhäodd y gwaith a roddasid iddo i'w wneuthur; ac fel canlyniad anghenrheidiol i hyny, fe'i derbyniwyd i'r nefoedd. Oblegid yr ymrwymiad o dan ba un yr aethai o'i ewyllys da ei hun, yr oedd yn rhaid i Grist ddyoddef yr hyn a ddyoddefodd, ac wedi hyny yr oedd yn rhaid iddo fyned i mewn i'w ogoniant. Ei eiddo ef ydoedd y dyoddefiadau, ac efe a aeth trwyddynt; ei eiddo ef wed'yn oedd y gogoniant, ac efe a aeth i mewn iddo. Yn nyfnder ei ddyoddefiadau yr ydoedd yn edrych ar "y gogoniant ar ol hyny." Am "y llawenydd a osodwyd iddo, fe ddyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd." Ac ni chafodd ei siomi yn ei ddysgwyliad: "Efe a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfainc Duw." Yr ydoedd "wedi ei wneuthur ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr." Chwychwi a wyddoch pa beth yw edrych gyda dymuniad hiraethlawn tua'r nefoedd. Y mae eich enaid yn fynych yn flinedig, ac yr ydych yn meddwl, "Ni phery hyn ddim am byth; mi gâf orphwys yn y nefoedd." Yr ydych yn cael eich temtio a'ch blino, ac yr ydych yn dywedyd, "Rhaid i mi ddyoddef hyn am ychydig, ond nid oes na themtasiynau na gofidiau yn y nefoedd." Yr ydych weithiau yn wylo gan ofid; ond tra yn wylo, yr ydych yn llawenhâu wrth feddwl y bydd i Dduw sychu ymaith bob deigryn oddiar eich wyneb y mynyd y cyrhaeddwch y nefoedd. Chwi a wyddoch, fe allai, beth yw chwant eich dattod, nid yn unig oblegid yr hyn sydd yn eich blino chwi yma, ond hefyd oblegid yr hyn sydd yn eich sugno chwi yno: cael "bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw." Fe fydd yn rhyw gysur i chwi, fe allai, i wybod fod Iesu wedi myned trwy hyn o'ch blaen chwi. Yr oedd yntau yn gwybod am yr un teimladau, yr un hiraeth, a'r un ymgyrhaedd am y nefoedd. Pan yn newynog ac yn sychedig—pan yn flinedig gan ei deithiau—pan heb le i roddi ei ben i lawr,—yr oedd yntau yn meddwl, "Mi gâf orphwys yn y nefoedd." Pan oedd ei elynion yn camesbonio ei eiriau, yn camddarlunio ei weithredoedd, yn cablu ei enw, ac yn taflu pob dirmyg ar ei gymeriad,—yr oedd yntau yn meddwl, "Fe dderfydd hyn pan elwyf i'r nefoedd." Nid oedd pechod yn-

ddo Ef i'w flino, fel y mae eich pechod yn eich blino chwi; ond yr oedd yn blino mwy nag y medrwch chwi oblegid y pechod oedd o'i amgylch. Nid ydych chwi yn ddigon rhydd oddiwrth bechod eich hunain i ofidio cymaint ag a ddylech am bechodau rhai eraill. Ond yr oedd yr Iesu yn berffaith sanctaidd—rhaid ei bod yn annhraethol boenus iddo ef ymsymud yn nghanol cymaint o lygredigaeth. Oedd; yr oedd efe yn ei ffeindio hi yn drwm iawn i anadlu mewn awyr oedd wedi ei lygru mor drwyadl gan bechod. Nid *yw* yn beth rhyfedd os oedd yn dywedyd yn fynych yn ei galon, "O! na byddai yr amser wedi dyfod—na byddai fy ngwaith wedi dybenu—fel y gallwyf fyned oddiyma i'r nefoedd!" Fe ddaeth yr amser—fe orphenodd ei waith—fe gyflawnwyd ei ddysgwyliadau—fe gyrhaeddodd y nôd at ba un yr oedd yn cyrchu—ac fe dderbyniodd y gamp; fe aeth i'r nef.

3. Efe a aeth i'r nef *fel ein Rhagredegydd ni.* "Y mae genym ni obaith," meddai Paul, "ac y mae y gobaith hwnw genym fel angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr, ac yn myned i mewn at yr hyn sydd o fewn i'r llèn." Ond pa fodd y mae genym ni obaith yno? Pa fodd yr oedd yn bosibl i ni blanu ein hangor yn y fan hyny? Fel hyn: "I'r man yr aeth ein Rhagflaenor drosom ni." Efe a aeth yno, ac fe aeth â'n hangor ni yno gydag ef. Cyn iddo ymadael â'i ddysgyblion, fe gymerodd ofal i ddywedyd wrthynt nad oedd efe ond yn myned ychydig o'u blaen. "Yr wyf yn myned i barotöi lle i chwi; ac os myfi a âf, ac a barotöaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun." Fe ddarfu iddo gymeryd ein natur; fe fabwysiadodd ein hachos. Fe wnaeth ei hunan yn un â ni. O hyn allan, gan hyny, fel y dygwydd iddo Ef y dygwydd i ninnau; lle y saif Ef, ninnau a gawn sefyll; a lle bydd Efe, ninnau a gawn fod hefyd. Dacw Ef yn nyfnderoedd iselaf tlodi a dyoddefaint—yn "ŵr gofidus a chynefin â dolur." Y mae wedi dechreu y gwaith â pha un yr ymgymerodd. Wele Efe ar y groes yn nghanol y tywyllwch ofnadwy. Y mae y Tad wedi cuddio ei wyneb oddiwrtho. Y mae yn llefain, "Fy Nuw, fy Nuw! paham y'm gadewaist?" Dyna'r foment bwysig ofnadwy wedi dyfod! Y mae ein hachos ni yn crynu yn y glorian; y mae y cwbl yn ymddibynu ar pa beth a gynnalia yn awr. Y mae yn marw, ac ar y trydydd dydd y

mae yn adgyfodi; ond y mae yn anhawdd gwybod pa beth i'w ddywedyd, oblegid ar y ddaear y mae eto. Y mae yn ymddangos i'w ddysgyblion yn awr a phryd arall. Os gorphenodd Efe ei waith, paham y mae yn aros ar y ddaear? Os methodd, pa fodd ei cyfodwyd Ef o blith y meirw? Ond ymhen ychydig, dyna oleu anghamsyniol ar y pwnc—dyna ddiwedd ar bob ammheuaeth. Y mae yn cael ei gymeryd i fyny o ganol ei ddysgyblion, a miloedd o angelion yn myned âg Ef i'r nefoedd. Y mae pob peth yn dda, fy mrodyr; y mae ein hiachawdwriaeth ni wedi ei sicrhâu. Fe faddeu Duw ein pechodau, pe byddent fel porphor ac ysgarlad; fe'n derbyn ni i'w ffafr, ac ni a gawn fyned ato i fyw byth, oblegid y mae Iesu *wedi* myned i'r nef. Y mae yn dda genym ei fod wedi myned yno, pe na byddai ond er ei fwyn ei hun. Y mae allan o gyrhaedd ei holl elynion. Er gwaethaf cenfigen yr offeiriaid—er gwaethaf cynddaredd y dyrfa ynfyd—er gwaethaf anonestrwydd Pilat—er gwaethaf malais uffern,—y mae wedi myned i'r nef; ac y mae yn dda genym ni hyny. Nid peth anhawdd genym yw gwaeddi gan lawenydd wrth weled y diniwed yn siomi dichellion ei erlidwyr. Ond yr hyn sydd yn ei wneyd yn fwy hapus fyth yw hyn: y mae ei fod Ef yno yn brawf y cawn ninnau fod yno hefyd. Fel ein Rhagflaenor ni—i barotöi lle i ni—i sicrhâu derbyniad i ni—Efe a aeth i'r nef.

II. Y mae y testun YN AWGRYMU PA BETH Y MAE YN EI WNEUTHUR YN Y NEF. Y mae yn *eiriol* yno, oblegid y mae "ar ddeheulaw Duw;" ac y mae yn *teyrnasu* yno, oblegid y mae "yr angelion, a'r galluoedd, a'r awdurdodau, wedi eu darostwng iddo." Nis gallwn aros ar y naill na'r llall o'r pethau hyn, ond gallwn ddywedyd hyny ar unwaith—fod pob un o honynt yn ddefnydd cysur i bob enaid sydd yn credu ynddo Ef. Ni a allwn feddwl gyda phleser am Dduw, oblegid y mae ar ei ddeheulaw Ef; ac nid oes achos i ni ddychrynu wrth feddwl am bawb eraill—na mawr na bychan, na drwg na da, oblegid y maent hwy i gyd oll wedi eu darostwng iddo. Meddyliwn am Dduw, yn erbyn yr hwn yr ydym wedi pechu, a digofaint yr hwn yr ydym wedi ei gyffroi. Fe fu amser pan y gallesid dywedyd ei fod ef yn ddigllawn beunydd wrthym. Yr oedd yn hogi ei gleddyf ac yn anelu ei fwa —yn parotöi saethau angeuol i'n taro â dystryw tragy-

wyddol. Ond bellach y mae ei ddigofaint wedi ei droi ymaith; y mae y cleddyf wedi ei roddi yn y wain—y bwa a'r saethau wedi eu rhoi heibio am byth. Ni chawn niwed byth oddiwrth daranau ei gadernid ef; fe faddeu ein beïau aneirif—fe'n derbyn i'w fynwes. Fe fydd i ni yn Dad mwy, a ninnau a gawn fod yn feibion ac yn ferched iddo yntau; ac y mae hyny yn ddigon am bob peth; oblegid y mae ein Cynnrychiolydd ni, ein Gwaredwr ni, ein Brawd ni, ar ddeheulaw Duw. A ydych chwi mewn cyfyngder neu mewn perygl? Awgrym oddiwrtho Ef a ddwg allu Duw i'ch gwaredu. A ydych chwi mewn anghen? Gair oddiwrtho Ef a dry ffrydiau cyfoeth y Duwdod tuag atoch chwi i'r fan lle yr ydych, i ddiwallu eich holl raid. Oes! fy mrodyr, y mae nefoedd i ni yn y ffaith fod Iesu Grist ar ddeheulaw Duw. Meddyliwn am eraill—am angelion, am dywysogaethau, ac am alluoedd. Y mae rhai o honynt yn dda; fel eu Harglwydd y maent yn casâu pechod, ac yn caru sancteiddrwydd. Beth os byddant hwy yn ein herbyn? Pa fodd y safwn ni o'u blaen? Ac y mae rhai o honynt yn ddrwg. Ni a allwn wneyd i fyny ein meddwl ar unwaith y gwnant hwy eu gwaethaf yn ein herbyn. A pha beth ydym ni o flaen y llew rhuadwy, tywysog llywodraeth yr awyr? Peidiwch gadael i feddyliau o'r fath eich blino. Rhoddwch eich enaid i gadw i Iesu Grist, a gadewch rhyngddo Ef a'r mater; oblegid y maent oll wedi eu darostwng iddo ef. Y maent oll yn y nefoedd ac ar y ddaear, yn uffern ac ymhob man arall, yn ddrwg ac yn dda, o dan ei lywodraeth Ef. Ni ŵyr Gabriel am fwy o bleser na rhedeg i'ch cynnorthwyo wrth ei orchymyn Ef. Ni feiddia Satan osod ei law arnoch yn erbyn ei air Ef. Ni chaiff y rhai drwg wneyd un niwed i chwi; ac fe gaiff y rhai da, bob yr un, ddyfod allan, os bydd eisieu, yn un fyddin fawr i'ch cynnorthwyo; oblegid y mae Iesu Grist ar ddeheulaw Duw, "a'r angelion, a'r awdurdodau, a'r galluoedd, wedi eu darostwng iddo."

Gredinwyr! meddyliwch y fath Waredwr sydd genych; y fath anrhydedd sydd arno; y fath lywodraeth sydd ganddo; y fath ddylanwad sydd ganddo yn y nefoedd. Fe arfer y dylanwad hwnw o'ch plaid chwi. Y mae yn meddwl am danoch yn awr. Nid yw yn eich anghofio na nos na dydd. Ac yn y diwedd fe ddaw ac a'ch cymer ato

ei hun. Fe fydd yn dda genych fyned ato i gwympo wrth ei draed—i ddiolch iddo am farw yn eich lle—am eich ceisio pan oeddych yn golledig—am gyd-ddwyn â chwi yn eich holl wendid a'ch anmherffeithrwydd—am fod gyda chwi yn eich holl gyfyngderau. Wele chwi gewch hyny. Ond y mae Efe am i chwi fod yno i ddyben arall hefyd: "Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi, *fel y gwelont fy ngogoniant yr hwn a roddaist i mi.*" Fe fydd yn dda gan ei holl gyfeillion ei weled mor ddyrchafedig. Fe fydd i'r rhai fu yn aros yn nghymdeithas ei ddyoddefiadau Ef—y rhai a ddarfu ei ddilyn Ef i'r ardd—fu'n gwrando ei ruddfanau yno—fu'n sefyll i wylo wrth ei groes,—fe fydd i'r rhai hyny oll lawenhâu; hwy a ganant nes adseinio'r nefoedd wrth ei weled Ef ar ddeheulaw Duw, "a'r angelion, a'r awdurdodau, a'r galluoedd, wedi eu darostwng iddo."

Bechadur! meddwl y fath Waredwr yr wyt yn ei wrthod. Y mae ar ddeheulaw Duw; yr wyt tithau yn ei osod ef ar dy aswy! Nis gallasai Duw roddi mwy o anrhydedd arno na'i osod lle y mae; nis gelli dithau daflu mwy o ddirmyg arno na gwrthod credu ynddo. Meddwl pa fodd y gelli sefyll o'i flaen yn y farn, ar ol dangos tuag ato y fath ddiystyrwch! Ti gei dy hunan ryw ddiwrnod —ac fe allai fod y diwrnod hwnw ymron dyfod—ti gei dy hunan yn llaw ac wrth ewyllys yr Hwn yr wyt yn awr yn ei wrthod. O bobl! plygwch iddo! "Cusenwch y Mab rhag iddo ddigio, a'ch dyfetha allan o'r ffordd." O Ysbryd Duw! maddeu galedwch dynion!

# PREGETH V.

## Y SERCH AR BETHAU SYDD UCHOD.

### GAN Y PARCH. ROBERT HUGHES, GAERWEN.

**"Rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod, nid ar bethau sydd ar y ddaear."—COLOSSIAID iii. 2.**

Y MAE anystyriaeth o'r gwahaniaeth dirfawr sydd rhwng pethau y nefoedd a phethau y ddaear yn un o achosion penaf anghrefydd. O herwydd hyny y mae yr anghrefyddol, ar un llaw, mor ddiofal ynghylch crefydd; a'r crefyddol, ar y llaw arall, mor ddigynnydd mewn crefydd. Y mae y naill a'r llall felly, pan y mae eu holl fywiogrwydd yn cael ei yfed i fyny gan helyntion bychain a dibwys y bywyd hwn. Pe disgynai pethau y nefoedd ar ein meddyliau ni, yn eu gogoniant a'u gwerth, torai hyny ar unwaith ein syched at y byd, yn ei gyfoeth, ei barch, a'i bleser; ac nid hyny yn unig, ond effeithiai i'n gwneyd yn eithaf boddlawn hyd yn nôd mewn adfyd a thrallod. Ein prif ymofyniad fyddai, nid pa fodd i gyrhaedd hapusrwydd yn y byd hwn, ond pa fodd i'w sicrhâu erbyn y byd a ddaw. Ond cofiwn mai yn y byd hwn y mae gwneuthur hyny. Yn yr amser presennol y mae i ni osod sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod. Ac un moddion tuag at hyny ydyw serchu y pethau sydd uchod, a gwneuthur defnydd dyladwy o'r pethau sydd isod. "Gorchymyn," ebe'r Apostol wrth Timotheus, "i'r rhai sydd oludog yn y byd yma, na byddont uchel feddwl, ac na obeithiont mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw, yr Hwn sydd yn helaeth yn rhoddi i ni bob peth i'w mwynhâu: ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu; yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod, fel y caffont afael ar y bywyd tragywyddol." I hyn hefyd y cymhellai efe y Cristionogion yn Colossa. "Am hyny," meddai, "os cydgyfodasoch gyda Christ," megy

ag y mae eich proffes yn arwyddo, "ceisiwch y pethau sydd uchod, lle mae Crist yn eistedd ar ddeheulaw Duw." Hyny ydyw, esgynwch yn eich meddyliau at y pethau sydd uchod, oblegid y mae esgyniad yn dilyn adgyfodiad yn wastad. Ymestynwch chwithau, gan hyny, hyd at berffeithrwydd; 'sef perffeithrwydd gwybodaeth, sancteiddrwydd, a dedwyddwch, a hyny yn mhresennoldeb gogoneddus Iesu Grist. Tuag at hyny y mae yn angenrheidiol rhoddi y serch ar bethau sydd uchod; canys y mae yn anmhosibl ceisio unrhyw wrthddrychau gyda dyfalwch heb yn gyntaf eu serchu.

"Rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod, nid ar bethau sydd ar y ddaear." Wrth y "pethau sydd ar y ddaear," gallwn feddwl, nid y pethau ag sydd yn ateb i flysiau anianol, y rhai sydd yn llywodraethu yn rymus mewn dynion daearol; ac nid meddiannau bydol chwaith, y rhai a ddylid eu harfer megys heb eu camarfer; ond defodau crefyddol, y rhai sydd â thuedd ynddynt i ddaearoli y serchiadau, yn hytrach na'u dyrchafu at bethau ysbrydol a nefol. Y mae llawer i gefnogi y syniad hwn; canys un amcan gan yr Apostol, yn y llythyr hwn, ydoedd dangos peth mor anghyson oedd i Gristionogion ymlynu wrth seremonïau, ac ymorphwys arnynt. Yr oedd y gau athrawon yn dwyn i mewn, fel pethau hanfodol crefydd, nid yn unig ddefodau Iuddewig, eithr hefyd athroniaeth Genedlig. Ac yr oedd y Cristionogion yn Colossa, a manau eraill cyfagos i dir Groeg, mewn perygl oddiwrth hyny. O herwydd paham y cynghorai Paul hwynt i fod yn ochelgar, gan ddywedyd, "Edrychwch na bo neb yn eich anrheithio trwy philosophi a gwag dwyll, yn ol traddodiad dynion, yn ol egwyddorion y byd, ac nid yn ol Crist." Heblaw hyny, "Os ydych wedi meirw gyda Christ oddiwrth egwyddorion y byd, paham yr ydych megys pettych yn byw yn y byd, yn ymroi i ordeiniadau; yn ol gorchymynion ac athrawïaethau dynion?"

Ond wrth y "pethau sydd ar y ddaear," gallem feddwl hefyd, y pethau sydd yn perthyn yn briodol i'r ddaear. "Rhoddwch eich serch—nid ar bethau sydd ar y ddaear;" a'r rheswm a ddygir dros hyny ydyw, "Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw." Yn ol esboniad Dr. Macknight;—Yr ydych yn marw beunydd; chwi fyddwch wedi cau eich llygaid yn ebrwydd

ar y pethau sydd ar y ddaear, gan hyny paham y rhoddwch eich serch arnynt? Ac ni raid i chwi bryderu ynghylch bywyd eich corff, oblegid y mae hwnw "wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw," yr hwn a adferir i chwi drachefn yn adgyfodiad y rhai cyfiawn.

Ond fel yr esbonia eraill—Meirw ydych i'r byd. Megys ag y bu Iesu Grist farw i'r byd, yn ei holl fawredd a'i fwyniant, yr ydych chwithau, trwy rinwedd eich undeb â Christ, wedi meirw iddo hefyd. Ni ddylech, bellach, deimlo oddiwrth ddylanwad y byd, ond megys y teimla y marw yn ngwaelod bedd.

Ond er eich bod yn feirw i un math o wrthddrychau, yr ydych yn fyw i wrthddrychau eraill. Ac y mae y bywyd hwnw yn fywyd ysbrydol, goruchel, a gogoneddus, yr hwn sydd "wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw." Y mae yma gyfeiriad at guddio trysor er ei ddiogelu; a thrysor o annhraethol werth yw bywyd y saint, ac y mae wedi ei guddio mewn man eithaf diogel. Nid wedi ei ymddiried iddynt hwy; pe felly, gallent hwy ei golli, naill ai trwy eu diofalwch eu hunain, neu ynte trwy ddichellion eu gelynion. Ond nid oes perygl am hyny, oblegid y mae wedi ei gyfleu yn ddigon pell o gyrhaedd pawb—"gyda Christ yn Nuw." Yn gymaint ag i Grist fyned yn Iawn dros fywyd pechaduriaid, y mae holl berffeithiau natur Duw wedi ymrwymo i'w ddiogelu.

Y sylwadau a amcenir fydd ar Y DDYLEDSWYDD O "RODDI Y SERCH AR BETHAU SYDD UCHOD, AC NID AR BETHAU SYDD AR Y DDAEAR."

Wrth y "pethau sydd uchod" y meddylir y cyflwr gogoneddus i ba un y dygir y saint yn angeu, ac o hyny allan, ynghyd a'r holl bethau a wasanaethant i'w gwneyd yn berffaith ddedwydd dros byth.

Ymddengys y priodoldeb o "roddi y serch ar bethau sydd uchod," yn

1. *Oblegid mai hwynt-hwy yn unig sydd yn gymhwys i gyflenwi dymuniadau y galon.* Y mae dymuniadau y galon mor ëang, fel nad oes yn y pethau sydd ar y ddaear y gradd lleiaf o gyfaddasrwydd tuag at eu cyflenwi. Y mae yn anmhosibl i bethau dymunol y ddaear wneyd enaid dyn yn gwbl hapus; ac y mae yn anmhosibl i'w bethau annymunol, yr ochr arall, ei wneyd yn gwbl anhapus. Y mae lliaws â chanddynt helaethrwydd o'r

pethau mwyaf dymunol, er hyny yn teimlo rhyw wagder poenus oddimewn, a rhywbeth anadnabyddus yn eisieu. Y mae llïaws o freninoedd y ddaear felly. Nid ydyw eu holl fawredd a'u rhwysg yn gwasanaethu i ddim ond i'w gwneyd o hyny yn fwy truenus. Felly y tystiai Solomon, mab Dafydd, brenin Israel. Canys wedi iddo chwilio, a dyfal chwilio, a chael allan bob mwyniant daearol, efe a ddywedai, "Hyn hefyd sydd wagedd." A dyna'r cwbl? Nage: "a gorthrymder ysbryd." Nid yn unig y mae yn wagedd rhy ddisylwedd i ddiwallu dymuniadau cryfion y meddwl, ond y mae yn faich rhy annyoddefol i deimladau tyner y galon.

Yr ochr arall drachefn, gallwn weled i amryw deimlo yn ddwys oddiwrth y pethau mwyaf annymunol, er hyny heb fod yn gwbl annedwydd. Darllenwn am rai a gymerasant eu hyspeilio o'r pethau oedd ganddynt yn llawen; ac am eraill yn gorfoleddu mewn gorthrymderau, ac yn canu psalmau mewn garcharau. Un merthyr, pan wedi ei rwymo wrth y pawl, yn nghanol fflamau tân, a chwarddai yn wyneb ei erlidwyr creulawn, gan ddywedyd, "Nid oes ond un gamfa fechan eto rhyngwyf â thŷ fy Nhad."

Ond am y "pethau sydd uchod," y maent yn sylweddau mor fawrion, fel y cyfarfyddant â'r galluoedd eneidiol cryfaf, ac ymhell uwchlaw hyny. Dyrchafwn ein meddyliau i'r nefoedd. Yno y mae yr Anfeidrol yn preswylio, a Christ yn eistedd ar ei ddeheulaw. Presennoldeb Duw a'r Oen yw goleuni dysglaer a gogoneddus y ddinas freiniol fry. A hyny sydd yn gwneyd y dinasyddion yn berffaith wrth eu bodd. Yn y byd hwn y mae y Duw mawr yn debyg i ŵr dyeithr, fel pererin yn y tir, yn ymguddio yn fynych. Y mae Efe, o'i anfeidrol ddaioni, yn rhoi o wedd ei wyneb, yn awr ac eilwaith, yn moddion gras. Ond yn y nefoedd y mae palas y Brenin mawr; yno y mae ei gartref, lle y mae Efe yn rhoi amlygiadau didòr o hono ei hun, nes gwneyd preswylwyr y trigfanau nefol yn berffaith hapus am dragywyddoldeb. "Digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron, ac ar ei ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd."

Yn y byd hwn y mae Efe yn cyfranu ei ddaioni trwy gyfryngau yn gyffredin—trwy offerynoliaeth ei grëaduriaid, a thrwy weinidogaeth moddion gras; felly y mae yn

anmhosibl i gyflawnder mawr redeg trwy bibellau mor feinion. Ond yn y nefoedd y mae y Ffynnon fawr ddiwaelod yn ymdywallt yn ddibaid, a hyny yn ddigyfrwng, nes gwneyd pob llestr yn orlawn byth. Sycheded yr enaid faint a fyno, a bydded iddo yfed yn ddidòr, ac fe fydd y cyflawnder ar ei gyfer yn ddidrai. Cael pechaduriaid tlodion at y cyflawnder hwn oedd yn ngolwg yr Apostol Paul, pan yn gweddïo dros yr Ephesiaid, "O herwydd hyn," meddai, "yr wyf yn plygu fy ngliniau at Dad ein Harglwydd Iesu Grist, ar roddi o hono Ef i chwi yn ol cyfoeth ei ogoniant." .Yn ol ei ogoniant? Nage, ond yn ol cyfoeth ei ogoniant,—"fod wedi ymgadarnhâu mewn nerth, trwy ei Ysbryd Ef, yn y dyn oddimewn; fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch seilio mewn cariad, amgyffred gyda'r holl saint, beth yw y lled, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder; a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw."

Ymddengys y priodoldeb o "roddi y serch ar y pethau sydd uchod," yn

II. *Oblegid mai hwynt-hwy yn unig sydd i barhâu:* "Canys y pethau a welir sydd dros amser, ond y pethau ni welir sydd dragywyddol."

Y mae amser a thragywyddoldeb yn gwbl anghyferbyniol â'u gilydd. Dechreuad crëadigaeth sydd wedi rhoi achlysur i amser; a phan y byddo diwedd pob peth wedi nesâu, cyfyd angel yr Arglwydd ei law i'r nefoedd, ac efe a dwng i'r Hwn sydd yn byw yn oes oesoedd, na bydd amser mwyach. Tybir fod yn agos i chwe' mil o flynyddoedd, bellach, er crëadigaeth y byd: a pha nifer o flynyddoedd fydd eto hyd ei ddiwedd, nis gwyddom. Ond hyn a wyddom yn eithaf da, nad ydyw yr yspaid maith o ddechreuad amser hyd ei ddiwedd ond dim mewn cyferbyniad â thragywyddoldeb. Y mae y gair tragywyddoldeb, oddieithr ein bod yn dra anystyriol, yn ein taro â dychryn aruthrol iawn. Tragywyddoldeb! beth ydyw? Parhâd diddiwedd. Y mae yn cau allan bob rhif a mesur. Y mae blynyddoedd ac oesoedd yn colli ynddo, fel mân ddyferynau yn yr eigion mawr. Pe byddai i'r bydoedd mawrion gael eu malu, a'u gwneyd yn fân ronynau fel tywod y môr; a phe lliosogid y cyfanrif â mil-fil o flynyddoedd—dyna feithder nad all yr un amser-

onydd ar y ddaear osod ei linyn mesur arno byth. Ond fe ddoi y meithder aruthrol hwnw i fyny fel diwrnod rywbryd. Ond am dragywyddoldeb, ni ddaw hwnw i fyny byth. Ond y mae yn rhaid i ni edrych ar y pethau sydd ar y ddaear wrth raddyr annhraethol fyrach—sef, wrth oes dyn. Pa beth gan hyny ydyw oes dyn? Y safon uchaf sydd iddi yn y Bibl yw deng mlynedd a thriugain; ac ychydig, mewn cymhariaeth, sydd yn dyfod hyd at y terfyn hwnw. Gan hyny, y mae yn anghenrheidiol byrhâu y graddyr drachefn. Nid ellir cyfrif yr un gronyn o amser yn eiddo dyn, ond y presennol. Nyni a welwn, gan hyny, fod amser dyn yn frycheuyn rhy ddiddym ar wyneb parthlen amser i'r llygaid mwyaf craffus ei ganfod. Y mae y gwahaniaeth rhwng amser dyn ac amser yn rhy fawr i ganiatâu cyferbyniad; pa faint mwy felly y gwahaniaeth sydd rhyngddo â thragywyddoldeb? Felly hefyd y mae y gwahaniaeth rhwng y "y pethau sydd uchod" a'r "pethau sydd ar y ddaear." Y mae y pethau sydd ar y ddaear yn dra chyfnewidiol. Meddyliwn am y pethau dymunol; er iddynt fod yn ein meddiant heddyw, gall na fyddant felly yfory; canys y mae cyfoeth ar adenydd, anrhydedd yn diflanu fel mwg, a phob mwyniant yn ymado fel cwmwl.

Meddyliwn drachefn am y pethau annymunol; er eu bod yn ein llethu heddyw, gall y bydd y cyfnewidiad er gwell erbyn yfory. "Dros brydnawn yr erys wylofain, ac erbyn y boreu y bydd gorfoledd."

Heblaw hyny, y mae y dyn ei hunan yn hynod gyfnewidiol. Y mynyd hwn, gall fod yn ddiofal yn nghanol llawnder, neu ynte yn wallgof yn nghanol prinder; ond erbyn y mynyd nesaf, angeu wedi ei ddanfon yn ddigon pell o gyrhaedd y naill a'r llall. Nyni a welwn, gan hyny, nad oes yn y pethau sydd ar y ddaear ddim i deilyngu serchiadau dyn. Canys pethau mynyd awr ydynt, ac yntau yn grëadur tragywyddoldeb. Y mae yr enaid yn wreichionen fywiol ac anniffoddadwy. Gwreichionen dan ludw tra yn y corff, mae yn wir, ond hi a fflamia yn ofnadwy mewn ystâd ysgaredig. Ac yn yr adgyfodiad y dydd diweddaf, hi a ailennyn fywyd yn y corff marwol, ac a'i try i anfarwoldeb fel ei hunan. Ond pa niwed fydd yn hyny? Oblegid y mae yn y pethau sydd uchod ddigon o fawredd, gogoniant, a pharhâd, i wneyd y naill a'r llall

yn berffaith ddedwydd am dragywyddoldeb. Sylwn ar y cyferbyniad sydd rhwng y pethau a welir a'r pethau ni welir. "Dyrchefwch eich llygaid tua'r nefoedd, ac edrychwch ar y ddaear isod; canys y nefoedd a ddarfyddant fel mwg, a'r ddaear a heneiddia fel dilledyn, a'i phreswylwyr yr un modd a fyddant feirw; ond fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd." Dyma bethau teilwng o'u serchu, canys hwy a berffeithiant ddedwyddwch pechadur, a bydd yntau, yn y byd tu hwnt i'r bedd, yn ddigon nerthol i fwynhâu dedwyddwch felly. Y mae yr enaid yn y fuchedd hon megys mewn cyflwr babanaidd, a'i alluoedd ond prin ddechreu ymagor. Y mae yn rhy wan i gynnwys llawer o hyfrydwch, yn enwedig yr hyfrydwch hwnw sydd yn ffrydio o ffynnonau iachawdwriaeth. Yn hyn y camgymerodd Moses, pan yr attolygodd ar Dduw, gan ddywedyd, "Dangos i mi dy ogoniant." Ah! fel pe dywedasai Duw wrtho, Y mae hyny yn fwy nag a elli di fwynhâu. "Ni elli weled fy wyneb; canys ni'm gwêl dyn a byw." Ni a gawn yr un amryfusedd drachefn yn hanes Flavel. Fel yr oedd efe un boreu ar gychwyn i'w daith, efe a ymneillduodd i weddïo, gan geisio gan yr Arglwydd raddau mwy nag arferol o'i gymdeithas y diwrnod hwnw. Ac yn ebrwydd, gyda ei fod ef ar ei farch, fe welodd Duw yn dda ganiatâu ei ddymuniad, trwy egluro gogoniant ei berffeithiau Dwyfol, nes y teimlai yr hen bregethwr fod ei gyfansoddiad yn ymollwng, megys dan faich gorthrechol. Yr oedd ei waed ef yn dechreu ffrydio o'i glustiau, o'i ffroenau, ac o'i enau; a bu yn rhaid iddo, yn agos i ffrwd ddwfr, ddisgyn oddiar ei farch, a syrthio ar ei liniau, gan erfyn ar ei Dad nefol attal y llewyrchiadau grasol, rhag ei ladd. Felly eto; pe disgynai gogoniant pethau'r nef ar feddwl y perffeithiaf sydd ar y ddaear, ei syfrdanu fyddai yr effaith. Ond yn yr adgyfodiad y dydd diweddaf, efe a fydd, gorff ac enaid, wedi ei gylchio âg anfarwoldeb, yn llestr digon cryf i ddal ei lon'd o'r gwin newydd, yn nheyrnas Dduw, i dragywyddoldeb. A dyma fydd yn perffeithio dedwyddwch y saint, sef ei dragywyddol barhâd. Pe byddai i ammheuaeth ynghylch ei barhâd oddiweddyd eu calon, chwerwai hyny eu teimladau yn y fan. Ond O! mor annhraethadwy eu llawenydd, pan y gallant edrych ymlaen, ymlaen, a hyny gyda'r sicrwydd mwyaf o barhâd dibaid eu dedwyddwch i dragywyddoldeb. Ni theimlant

unrhyw gyfnewidiad, ond o'r naill olygfa ogoneddus i'r llall, ac o'r naill deimlad dedwydd i un arall, a hyny dros byth. Bydd gogoniant y priodoliaethau Dwyfol yn ymddadlenu o flaen eu llygaid yn barhâus, a hwythau oblegid hyny yn berffaith ddiwall. "Myfi a edrychaf ar dy wyneb mewn cyfiawnder," medd Dafydd; "digonir fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di."

CYMHWYSIADAU.

1. Y mae yn anhawdd, os nid yn anmhosibl, serchu y pethau sydd uchod a'r pethau sydd ar y ddaear; canys y mae serchu y naill yn rhwym o effeithio diflasdod at y lleill. Beth gan hyny, ai ni allwn serchu ein perthynasau anwyl, ein cyfeillion hoff, a'n meddiannau gwerthfawr? Na allwn, ond yn dra chymedrol. Ychydig o'r serch y maent hwy yn ei deilyngu, am mai ychydig o hono a allant hwy foddloni. O herwydd paham cymhellir ni i ymddwyn yn annhueddgar tuag atynt. "A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, frodyr, am fod yr amser yn fyr. Y mae yn ôl, fod o'r rhai sydd â gwragedd iddynt." Pa fodd y maent i deimlo tuag atynt? "Megys pe byddent hebddynt;" oblegid y mae adeg yn ymyl, y byddant hebddynt mewn gwirionedd, a hebddynt dros byth. "A'r rhai sydd yn wylo." Pa fodd y dylent hwy ymddwyn? "Megys heb wylo." Od oes rhai yn wylo ar ol eu perthynasau, y mae yn llawn bryd iddynt sychu eu dagrau, canys y mae cyfnod yn agosâu na theimlant ddim oddiwrth hyny. "A'r rhai a lawenhânt." Pa fodd y mae iddynt hwythau ymddwyn? "Megys heb lawenhâu." "A'r rhai a brynant, megys heb feddu;" oblegid bydd i angeu yn ebrwydd roi terfyn ar y meddiant, a throsglwyddo y meddiannau i eraill ar eu hôl. "A'r rhai a arferant y byd hwn, megys heb ei gamarfer. Canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio." Y mae yn myned heibio yn debyg i wahanol olygfëydd y chwareufa, y rhai sydd yn cyfnewid yn dra chyflym. Un mynyd, gellir edrych ar ddosbarth o chwareuwyr ar y *stage*, a'u chwareu yn hynod ddyddorol, ond erbyn y mynyd nesaf bydd yr olygfa wedi llwyr ddiflanu, ac un arall wedi cymeryd ei lle. Felly y cyfnewidiant eu gilydd, nes i'r holl chwareu fyned drosodd, a'r chwareufwrdd yn wag. Fel hyn yn hollol y mae dull y byd hwn yn myned heibio. "Un genedlaeth a ä ymaith, a chenedlaeth arall a ddaw; ond y ddaear a saif byth."

Nid ydyw y byd hwn, yn ei gyfoeth a'i dlodi, ei barch a'i anmharch, ei wên a'i ŵg, ond prin yn werth ein sylw. Nid yw y naill eithaf yn fwy dymunol na'r llall, oddieithr fod y naill yn fwy gwasanaethgar na'r llall, erbyn tragywyddoldeb. Ac os felly, adfyd biau y flaenoriaeth, oblegid y mae awelon oerion adfyd yn debyg i'r *trade wind*, yn chwythu yr un ffordd. Y maent yn chwythu llestr y Cristion yn fwy uniongyrchol i'r porthladd dymunol. "Canys ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol, yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni: tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir." Nid ydyw rhwysgfawredd y pethau a welir, pan ei cyferbynir â phwysigrwydd gwir grefydd, ond yr hyn ag y mae dynion synwyrol cyn hyn wedi ei lwyr ddibrisio. "Trwy ffydd, Moses, wedi myned yn fawr, a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh; gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist, na thrysorau yr Aipht; canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gobrwy."

2. Y mae rhoddi y serch ar y pethau sydd uchod yn rhwym o effeithio ymofyniad am danynt. "Am hyny, os cydgyfodasoch gyda Christ, ceisiwch y pethau sydd uchod." Tuag at eu ceisio, y mae yn anghenrheidiol eu serchu; a thuag at eu serchu, y mae yn anghenrheidiol eu hadnabod. Y mae lliaws o wrthddrychau yn cael eu serchu gan ddynion, pe yr adnabyddent hwy yn well, hwy a'u serchent yn llai. Ond po fwyaf fyddo ein hadnabyddiaeth o Grist a'r pethau sydd uchod, cryfaf hefyd fydd ein serchiadau tuag atynt. Ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu yr Arglwydd oedd yn gwefreiddio meddwl yr Apostol Paul, a hyny oedd yn ennyn ymofyniad am dano. "Er mwyn yr Hwn," meddai, "y'm colledwyd ymhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist. Ac y'm cair ynddo Ef, heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd: fel yr adnabyddwyf Ef, a grym ei adgyfodiad Ef, a chymdeithas ei ddyoddefiadau Ef, gan fod wedi fy nghydffurfio â'i farwolaeth Ef."

3. Trwy roddi ein serch ar bethau sydd uchod, y'n bywiocëir yn ein holl ddefosiynau crefyddol; a hyny hefyd a rydd iawn gyfeiriad i'r galon ymhob defosiwn. "Anfon dy oleuni a'th wirionedd," meddai y Salmydd; "tywysant

hwy fi; ac arweiniant hwy fi i fynydd dy sancteiddrwydd, ac i'th bebyll." Dim pellach? Na; mi âf ymhellach: "Yna yr âf at allor Duw." Dyna yr eithaf? Nage; mi âf ymhellach eto: "at Dduw, hyfrydwch fy ngorfoledd; a mi a'th foliannaf ar y delyn, O Dduw, fy Nuw!"

4. Y mae serchu y pethau sydd uchod yn hanfodol tuag at fyned i'r nefoedd. Na thwyller neb o honom, canys nid ä i mewn iddi yn dragywydd ond y rhai a gofleidiant ei phethau ar y ddaear!

# PREGETH VI.

## FFYDDLONDEB DUW.

## GAN Y PARCH. EVAN HARRIS, MERTHYR.

"Os ŷm ni heb gredu, eto y mae Efe yn aros yn ffyddlawn: nis gall Efe ei wadu ei hun."—2 TIMOTHEUS ii. 13.

YR hwn a ysgrifenodd y geiriau hyn oedd yr Apostol Paul, a'r hwn yr ysgrifenwyd hwy ato oedd Timotheus. Darllenwch chwi amgylchiadau y geiriau, a chewch weled fod Paul wedi rhoddi gorchymyn pendant i Timotheus i adrodd y pethau a gynnwysir yma ar gyhoedd i glywedigaeth y bobl. Nid pethau i fod rhwng Paul a Timotheus yw y *text*, ond pethau i fod rhwng y ddau a'r gynnulleidfa; ac os oedd y *text* hwn yn werth myned âg ef i wyneb cynnulleidfa yn amser Paul, mae yr un gwerth ynddo i ddyfod i'ch wynebau chwithau yma heno. Mae yma lïaws o honoch ynghyd, ond mae'r *text* yn ddigon i bawb. Beth oedd siars Paul i Timotheus i'w ddyweyd wrth y gynnulleidfa? Os oeddynt heb gredu, eto fod Duw yn aros yn ffyddlawn, ac nas gallai Efe ei wadu ei hun. Mae yn ddigon tebyg fod yma rai heb gredu; peidiwch a'u claddu yn fyw; mae genyf *dext* i'r rhai sydd heb gredu: "mae Efe yn aros yn ffyddlawn; nis gall Efe ei wadu ei hun." Os cyfarfyddwch â dyn heb fod yn uffern, chwi gwrddwch â digon iddo yn y *text*. Mae y Bibl yn debyg iawn i *shop* y *jeweller*. Ewch yno chwi gewch fodrwy yn *ffitio* bys pawb; felly yr Ysgrythyrau, chwi gewch rywbeth yn y gwirionedd sydd yn cyfateb i anghen pawb; ac fe fydd yn hoff iawn gen' i gael cyfarch cynnulleidfäoedd ar *dext* nad oes dim *odds* pwy fo'r gwrandäwyr. "Os ŷm ni heb gredu," 'dyw hi ddim yn rhy ddiweddar. Nac ydyw, ac nid yw yn rhy gynnar chwaith.

Mae'r *text* yn dal cysylltiad â'r hyn sydd wedi bod o dan sylw yn flaenorol. Mae yn dal cysylltiad â'r 12fed adnod: "Os dyoddefwn, ni a deyrnaswn gydag Ef; os *gwadwn Ef, yn*tau hefyd a'n gwâd ninnau. Os ŷm ni

heb gredu, y mae Efe yn aros yn ffyddlawn." A'r tri *os* yn y fan yma gaffo le ar eich meddwl! "*Os* dyoddefwn, ni a deyrnaswn." "*Os* gwadwn Ef," fe'n gwedir ninnau. "*Os* heb gredu, y mae Efe yn aros yn ffyddlawn." Ysbryd Duw wnelo le i'r pethau hyn yn eich meddyliau!

Tybia rhai fod yr "eto" yn y testyn i'w olygu fel hyn. "Os ŷm heb gredu, eto y mae Efe yn aros yn ffyddlawn;" hyny yw, fod yr Arglwydd yn aros yn ffyddlawn i'w fygythion ar bawb sydd heb gredu. Mae hyn yna yn wir, ond pa un ai y gwir sydd yn y testun sydd gwestiwn. 'Does dim yn llyfr Duw yn fwy gwirionedd na sicrwydd cyflawniad pob rhan o hono—nad ä yr "un iot na'r un tipyn o'r gyfraith heibio, hyd oni chwblhäer oll." Mae yn wirionedd diammheuol y cyflawna yr Arglwydd ei fygythion ar bawb fyddo byw a marw yn anghredinwyr.

Mae eraill yn esbonio y geiriau fel hyn,—fod yr Arglwydd Iesu yn aros yn ffyddlawn yn nghenadwri yr efengyl i alw pechaduriaid anedifeiriol i edifeirwch, cyhyd ag y byddo lamp eu bywyd heb losgi allan. Yn awr, nid ydym yn myned i wasgu'r naill esboniad at eich meddwl mwy na'r llall; dewiswch yr un a fynoch, neu gwnewch well un.

Ond wrth ystyried y gair "ffyddlawn" yn ol ei natur, mi feddyliwn ei fod yn fwy priodol i gael ei gysylltu â thrugaredd nag â barn; ac mae yn gwestiwn genyf a ffeindiwch chwi y gair ffyddlawn wedi ei gysylltu â barnedigaethau yr Arglwydd yn yr holl Fibl; ond mae wedi ei gysylltu â'i drugaredd lawer gwaith, megys yn y geiriau, "Ffyddlawn yw yr Hwn a addawodd, yr Hwn hefyd a'i gwna."

Ond nid awn i geisio penderfynu pa beth oedd meddwl pendant yr Apostol yn y geiriau, ond gallwn dynu y casgliad hi oddiwrth gorff yr Ysgrythyr heb wneuthur un cam â hwy, sef fod Crist yn ngweinidogaeth yr efengyl yn aros yn ffyddlawn i wahodd pechaduriaid yn nydd gras i edifeirwch, megys yn y geiriau hyny, "Tröwch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear." Os ych chwi ar y ddaear, tröwch ato. Wrth bwy y mae yn llefaru? Wrth bawb sydd ar y ddaear. "Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr anwir ei feddyliau." I ba le yr â efe? "Dychweled at yr Arglwydd." Sut fydd hi wed'yn? "Efe a gymer drugaredd arno."

Sylwn ar FFYDDLONDEB DUW: "Eto y mae Efe yn aros yn ffyddlawn."

Llawer fu'n ffyddlawn gynt, ond nid ydynt yn aros yn ffyddlawn. Un ffyddlawn iawn oedd dy fam, ond pa le y mae yn awr? Yn y bedd. Un ffyddlawn oedd tad dy blant, ond 'dyw ddim yn aros felly. Ond dyma Un yn aros, ac yn aros yn ffyddlawn. Mae rhai o'ch hen gyfeillion yn aros, ond nid yn aros yn ffyddlawn. Ar ol i chwi adael dynion â gwên ar eu hwynebau, hwyrach na addefant eu bod yn eich adnabod y tro nesaf y cwrddwch â hwy; ond am Grist y mae Efe yn aros yn ffyddlawn. Yr wyf yn cofio y bore pan oeddwn yn fachgen bach yn myned gyda'm rhieni i'r cyfarfodydd, yr wyf yn cofio clywed yr hen bregethwyr yn dyweyd am Grist yr adeg hono, ei fod yn annog pechaduriaid i ddod ato, gan ddywedyd, "Yr hwn a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." Mae yr un yn awr: "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd," heb gyfnewidiad. Mae yn aros yn ffyddlawn. Cewch ambell un yn barod a ffyddlawn i gyflawni ei addewid, ond nis gall; chwi gewch arall a all wneuthur hyny, ond ni wnaiff ef ddim; ond dyma Un y gallwn fentro dyweyd am dano,—fe *all*, ac fe *wna* hefyd.

Edrychwn ar y briodoledd o ffyddlondeb yn Nuw, *yn ei chysylltiad â threfn fawr yr iachawdwriaeth*. Mae yn aros yn ffyddlawn. Mae y naill brïodoledd yn yr hanfod Dwyfol yn taflu dysgleirdeb ar brïodoledd arall. Felly mae ffyddlondeb yn y Jehofah yn taflu dysgleirdeb ar holl briodoliaethau eraill ei natur. Fuasai doethineb i drefnu yn werth dim heb ffyddlondeb i gyflawni. 'Dyw gallu i wneyd peth ddim yn werth sôn am dano, os na bydd ffyddlondeb i'w ddwyn i ben. Os oes y fath beth wedi bod a chyfammod rhwng y Drindod yn achos iachawdwriaeth pechaduriaid, ffyddlondeb Duw at ammodau y cyfammod hwnw yw y sail i ddysgwyl y gwelir ni fry yn ddiogel ryw foreu. Os oes y fath beth yn bod a chyfammod y prynedigaeth, pe buasai Crist yn peidio rhoi iawn dros y rhai y meichnïodd yn eu lle, fe fuasai anffyddlondeb yn y Meichiau yn gwneuthur y cyfammod yn ddiwerth. Pa brofion sydd genych na bu felly? Geiriau Duw: "Gollwng ef yn rhydd; myfi a gefais iawn." Beth ddaeth â'r euog yn rhydd? Iawn. Pe na byddai i'r Ysbryd Glân

gymhwyso doniau y prynedigaeth at y prynedigion, fe fuasai anffyddlondeb y Trydydd Person i'r Tad a'r Mab yn rhwystro cyflawniad y cyfammod. "O lafur ei enaid y gwêl, ac y diwellir ef." 'Dyna'r hen *system* i arwain dynion i benrhyddid.' Nage. Yr wyf yn sicr mai y dynion a gadwyd hwyaf yn ngolwg cadernid a sicrwydd y drefn, yw'r dynion sydd yn byw lwyraf i'r Gŵr a'i *schemiodd* hi o bawb.

Edrychwn ar FFYDDLONDEB CRIST, oblegid ato ef yn benaf y cyfeirir yn y testun. A ydych chwi yn cofio y geiriau hyny, "A Chyfryngwr nid yw i un?" I bwy y mae ynte? I ddau. "Eithr Duw sydd un." A oes mwy nag un Cyfryngwr? Nac oes. Ond nid i un y mae Efe, ond i ddau. Ystyr y gair cyfryngwr yw cyf—rhwng, —un yn y canol. I bwy y mae Efe? I ddau. 1. I'w Dad; 2. I ni. A gellwch ysgrifenu y testun hwn yn deitl uwch ei ben: "Mae Efe yn aros yn ffyddlawn." Fe fu yn aros yn ffyddlawn i'w Dad; mae yn aros felly yn awr. Mae Crist fel Cyfryngwr wedi ei eneinio i dair o swyddau—prophwyd, offeiriad, a brenin. Mae yn y tair swydd hyna yn awr, ac fe erys yn ffyddlawn ynddynt. Beth mae yn wneuthur i'r eglwys fel prophwyd? Dysgu rhai ffol yn ddoeth i iachawdwriaeth. Gwna ffyliaid yn ddoeth i iachawdwriaeth. Beth mae yn wneuthur yn ei eglwys fel brenin? Teyrnasu—bod yn ben ar ei gorlan. 'Does dim *Jacobites* yn codi yn ei deyrnas byth. Mae yn *stampo*'r gyfraith ar galonau ei ddeiliaid. Mae fel brenin yn ymlid y gelynion o'i flaen. Trwy gynnorthwy byddinoedd y mae breninoedd y ddaear yn amddiffyn eu deiliaid, ond nid fel yna y bu yma pan oedd ein Pen Cadben ni yn wynebu'r frwydr: "Ac o'r bobl nid oedd neb gydag Ef." "Edrychais," meddai, "ac nid oedd gynnorthwywr; yna fy mraich fy hun a'm hachubodd, a'm llidiogrwydd a'm cynnaliodd." Y goron fo ar ei ben!

Mae'r Hollalluog wedi ein gwneuthur yn grëaduriaid *handy* iawn. Yr ydym yn gyflymach na'r *telegraph*. Ni awn oddiyma i draeth y Môr Coch yn gynt nag *electricity*. Edrychwch ar gynnulleidfa meibion Israel wrth y Môr Coch—y môr o'u blaen, Pihahiroth a Baalsephon un o bob ochr iddynt, a Pharaoh o'r tu ôl. Maent wedi eu *blockadio*. Pe buasech yn gofyn iddynt,—Israel, pa le mae'r Gŵr mawr a'th ddygodd o'r Aipht? Dyna hi wedi cau

*round* i ti. Na; mae yn rhydd i'r *top*. Sïon, pa le mae dy frenin heddyw? Mae "yn aros yn ffyddlawn." Dyro'r wialen ar y môr, Moses. Nid anfon un o'r cerubiaid a wnaeth i hollti'r môr, ond dyweyd wrth Moses, Dyro dy wialen ar y môr, gael i Dduw ddod i'r golwg. Mae yn aros yn ffyddlawn eto. Dacw Jonah yn mòl y morfil; fe dŷr ddannedd y pysgodyn cyn y collir Jonah: "aros yn ffyddlawn." Mae "yn aros yn ffyddlawn, ac nis *gall* Efe ei wadu ei hun." Wnaiff Efe ddim? Ni *all* Ef ddim. 'Mi dybiais i mi ddarllen yn fy Mibl, y gall Duw bobpeth.' Mae yn ein Bibl ninnau hefyd. 'Wel, os gall Efe bob peth, paham nas gall Efe ei wadu ei hun?' Anmherffeithrwydd dynion yn gyffredin yw yr achos o'u hanallu, ond perffeithrwydd Crist yw yr achos o'i anallu ef. Anmherffeithrwydd Abraham barodd iddo wadu Sarah; mae hyny yn *flot* ar ei gymeriad byth. Yr oedd yn dda gan Abraham Sarah; oedd—ond yr oedd yn well ganddo am dano ei hun. Paham y gwadodd Abraham Sarah? Am nad oedd yn ddigon perffaith. Ond am fod Crist yn berffaith, wâd Ef byth mo Sarah. Anmherffeithrwydd Pedr barodd iddo regu wrth y tân glo, a dyweyd nad adwaenai mo Grist. Paham y gwadodd Pedr ei Feistr? Am ei fod yn anmherffaith. Wada ef byth ond hyny mo hono. Ond am fod Crist yn berffaith, wadodd Efe mo Pedr. Os yw yn aros yn ffyddlawn, ac os na all wadu ei hun, dos ato heno, a dywed,—'Mi glywais yn yr oedfa dy fod yn derbyn y penaf o bechaduriaid, ac mi glywais na wedi mo honot dy hun; dyma finnau ar lawr;' a chei di weled na thery byth mo honot ar lawr. ''Dwyf erioed wedi gallu gweled arfaeth a chyfammod y prynedigaeth, a ffyddlondeb y pleidiau i'w cyfammod, a gwahoddiad cyffredinol yr efengyl, yn cydsefyll,' meddai rhywun. Beth er hyny, os ydynt? 'Os wyf wedi fy ethol, mi ddeuaf at grefydd rywbryd, ond os heb hyny, ar ol y byddaf.' Y cythraul ddysgodd y stori yna gyntaf erioed i ddyn. Os heb gredu, anmhosibl i chwi wybod pa un a etholwyd chwi ai peidio. Nid neidio i *dop* yr ysgol y mae y Cristion, ond ei dringo bob yn ffon. Beth yw'r peth cyntaf? Wynebu fel pechadur ar dystiolaeth y gair am Fab Duw, a dringo i'r *top* bob yn dipyn. Pan oedd Joseph yn yr Aipht, beth gododd ei frodyr i fyned o Ganaan yno? Gwybod gawsant fod Joseph yn llywydd ar y wlad? Na wyddent

hwy ddim. Oni anfonwyd gair atynt fod perthynas iddynt yn *managio*'r ŷd yn yr Aipht? Naddo. Beth a'u cododd yno, ynte? Mi ddywedaf i chwi beth wyf yn feddwl a'u cododd yno—teimlo chwant bwyd yn y wlad lle yr oeddynt yn byw, a chlywed fod digon o ŷd i'w gael yn ngwlad yr Aipht, a myn'd yno at y fenter. Felly'r pechadur; mae yn myned at Dduw at y fenter. Fe ddaeth newyn i'r wlad, dacw'r bechgyn yn myned i'r Aipht i brynu lluniaeth. Maent yn dod yn ôl, ac yn gwybod pwy yw llywydd y wlad? Nac ydynt; wyddent hwy ddim pwy yw. Fuasai waeth iddynt heb fyned yno, ynte. O na; fe dalodd y daith yn *glever;* hwy gawsant fwyd. A wyddent hwy pwy oedd y llaw a'i rhoddodd iddynt? Na wyddent, ond fe wyddent fod y bwyd yn dda. Pe gofynech i lawer Cristion, I ba ddyben yr wyt ti yn myned ar dy liniau? a gefaist ti ddadguddiad fod dy Brynwr yn fyw? Naddo. Gan hyny, y mae y cwbl yn "*labour in vain?*" Nac ydyw, mi gefais fwyd i fyned ymlaen. A wyddoch chwi? fe ddaeth perthynas Joseph a'i frodyr i'r golwg wrth ddechreu *delio* âg ef; a bore hynod oedd bore'r dadguddio. Tröwch yr Aiphtiaid allan bob un, meddai Joseph. Yr oedd yr Aiphtiaid yn dy weled yn rhanu'r ŷd a'r arian, Joseph. Gwir, ond mae peth llawer mwy na hyny yn myned ymlaen yn awr. Beth yw hyny? Y berthynas yn cael ei dadguddio. Wedi gyru yr Aiphtiaid allan, dacw fachgen y "siaced fraith" yn dyweyd, "Myfi yw Joseph, eich brawd chwi." Pa'm mae'r dagrau yn treiglo oddiar eu gruddiau? Cofio yr hen ddygwyddiadau y maent. Os ydych am gael y berthynas i'r golwg, rhaid cael yr Aiphtiaid o'r tŷ bob un. Pan elo'r Aiphtiaid o'r tŷ, fe ddaw Joseph i'r golwg, nes y gorfoleddwn wrth edrych arno. Deliwch gyda'r bwyd; fe ddaw eich Brawd â'r berthynas i'r golwg yn y man. Ewch ato bawb o honoch, yn unigol. 'Beth a ddywedaf wrtho?' Dywed,—'Mi glywais yn yr oedfa heno dy fod yn derbyn y penaf o bechaduriaid, ac mi glywais nas gelli wadu dy hun; dyma'r tywyllaf a'r gwaelaf erioed o'th flaen; derbyn fi.' Ddigia Efe ddim wrthyt am ofyn hyny.

Y rhai sydd wedi ymddired ynddo er's llawer dydd, meddyliwch am yr addewidion sydd fel rhaffau yn cyrhaedd o'r nefoedd i'r ddaear, ac ni wâd Efe mo honynt.

Os dywedodd Efe, "Yn ol dy ddydd y bydd dy nerth," wâd Efe byth mo hyny. Os dywedodd Efe, "Myfi a fyddaf gyda thi," wâd Efe byth mo hyny. Os dywedodd Ef yr arosai yn yr afon hydnes y delai y wanaf adref, wâd Efe byth mo hyny. Mae yr Archoffeiriad yn myned i aros yn yr afon hyd nes delo'r gloff a'r lesg adref; ac os erys cyhyd â hyny, peidiwch a synu os gwelwch yr hen bregethwr adref. Chwi gewch fyned adref yn *safe!* Pwyswch ar ei ffyddlondeb Ef! Ffarwel! Amen.

# PREGETH VII.

## ANGEU CRIST A'I AILDDYFODIAD YN SAIL A GWRTH-DDRYCH GOBAITH Y SAINT.

## GAN Y PARCH. DAVID HUGHES, B.A., TREDEGAR.

"Ac megys y gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn: felly Crist hefyd, wedi ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer, a ymddengys yr ail waith, heb bechod, i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl, er iachawdwriaeth."—HEBREAID ix. 27, 28.

MAE angeu, sef terfyniad ein sefyllfa bresennol yn y byd, yn amgylchiad pwysig a difrifol iawn. Mae y meddwl am dano yn cyffroi ein holl natur, yn cynhyrfu ein teimladau, ac yn peri i'r ysbryd anfarwol sydd ynom ddwys ystyried sylweddau byd arall. Mae yr amgylchiad hwn yn aros pawb: "Gosodwyd i ddynion farw unwaith." Dyma lwybr y rhaid i bawb ei rodio; dyma gwpan y rhaid i bawb ei hyfed; a dyma gosbedigaeth y mae yn rhaid i bawb ei dyoddef. Rhaid i'r ymherawdwr galluog, sydd yn ysgwyd teyrnwialen ei awdurdod dros deyrnasoedd cyfain, nes y mae tywysogion a breninoedd yn crynu ger ei fron, dalu gwarogaeth ac ymostyngiad i "frenin y dychryniadau." Rhaid i'r rhyfelwr dewr, yr hwn sydd yn arswyd i'w elyn, yn ogoniant i'w wlad, ac yn amddiffynydd rhyddid ac iawnderau ei gydwladwyr, ymostwng dan draed y "gelyn diweddaf." Rhaid i'r areithydd medrus, yr hwn trwy bereidd-dra ei lais, dwysder ei deimlad, grym ei resymau, ac angerddolrwydd ei hyawdledd, sydd yn swyno ei wrandäwyr, nes y maent yn hongian, megys, wrth ei wefusau, orwedd yn fud dan law "yr angeu." A rhaid iddo yntau yr ysgolaig a'r athronydd, wedi bod yn trafod llênyddiaeth yr oesoedd, yn astudio deddfau anian, ac yn sylwi ar yr amcan daionus sydd yn rhedeg trwy waith y Crëawdwr at ddyn, ymollwng dan awdurdod y "gorchfygydd" hwn. Mae angeu yn darostwng pawb, a phob gradd mewn cymdeithas, i'r un sefyllfa a'u gilydd: yr hen a'r ieuanc—y

mawr a'r bach—y tlawd a'r cyfoethog—y brenin a'r deiliad—pawb fel eu gilydd, a phawb yn gydradd y naill a'r llall. Unwaith yn unig am byth y mae yr amgylchiad hwn yn cymeryd lle, yn ei gysylltiad â'r un person; ac os na fydd yn barod pan y delo i'w gyfarfod, ni chaiff "amser mwyach" i ail ymbarotöi ar ei gyfer. Mae llawer amgylchiad pwysig mewn bywyd, yr hwn, er ei esgeuluso, y bydd rhyw obaith y gellir i ryw raddau wneyd y golled hono i fyny. Ond nid oes amser i ail ymbarotöi ar gyfer angeu i'w gael, ond "lle y syrthio y pren, yno yr erys." Mae hyn yn beth arswydol iawn i'r anghredadyn; ond i'r Cristion y mae yn ffaith ddedwydd iawn,—sef pan y byddo marw, na fydd raid iddo farw mwy. "Ac megys y gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn: felly Crist hefyd, wedi ei offrymu unwaith, i ddwyn ymaith bechodau llawer, a ymddengys yr ail waith, heb bechod, i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl, er iachawdwriaeth."

Yma sylwer—

I. Marwolaeth Crist: "Wedi ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer."

Prif bwnc yr Apostol yn niwedd y bennod hon, yw dangos na bu Crist farw ond *unwaith*, a bod hyny yn ddigonol, mewn gwrthgyferbyniad i'r aberthau Iuddewig, y rhai yr oedd yn rhaid eu hoffrymu yn fynych. Ac mewn trefn i brofi hyny, y mae yn tynu cyfatebiaeth rhwng marwolaeth Crist a marwolaeth dynion yn gyffredinol: "megys y gosodwyd," yn ol trefn gweinyddiad llywodraeth foesol Duw, yn ol yr egwyddor o uniondeb a chyfiawnder, "i ddynion," mewn canlyniad i bechod, "farw unwaith;" felly, fel mater o ffaith, y gosodwyd neu y penodwyd i Grist, gan y Tad, i'w offrymu ei hun unwaith (ar y groes), "i ddwyn ymaith bechodau llawer." Felly, mae'n amlwg fod yn rhaid cadw y gyfatebiaeth yn y testun, o ran y *ffaith*, ac nid o ran *egwyddor* y peth. Oblegid penodiad o eiddo Duw, yn tarddu yn hollol o uniondeb pur digymysg ei lywodraeth, yw y gosodiad i ddynion farw unwaith, mewn canlyniad iddynt droseddu ei gyfraith. Ond penodiad yn tarddu o'i haelfrydedd a'i gariad anfeidrol at ddynion colledig, oedd ei waith yn gosod ei Fab i gael "ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer." Yn y naill yr oedd Duw yn rhwym, yn ol ei natur a'i gyfraith ei hun, i wneyd y penodiad; ond ei

gariad a'i ras anfeidrol a'i cynhyrfodd i wneyd y penodiad arall. Mae y gyfatebiaeth yn rhedeg fel hyn:—fel y mae marwolaeth dynion o osodiad Duw, felly hefyd y mae marwolaeth Crist. Ond y mae marwolaeth dynion wedi tarddu mewn canlyniad i bechod, ac yn gosbedigaeth o'i herwydd, eithr marwolaeth Crist sydd wedi ei hamcanu er agoryd ffordd i waredu dynion oddiwrth bechod. Ac megys nad oedd dyn i farw (dadgysylltu ei gorff a'i enaid oddiwrth eu gilydd) ond unwaith, ac yna i ddyoddef ei gosb haeddiannol a thragywyddol am ei bechod yn myd yr ysbrydoedd, lle nad oes un dadgysylltiad byth mwy i fod arno; felly Crist, trwy farw *unwaith*, a wnaeth un aberth iawnol dros bechod; a'r fath aberth, fel nad oes eisieu un aberth mwyach i wneyd iawn dros bechod, ac mewn canlyniad nad yw yntau byth i farw mwyach. Sylwn yma, gan hyny, ar farwolaeth Crist, fel y mae

1. *O Ddwyfol osodiad.* Mae yr Ysgrythyrau sanctaidd yn dangos i ni yn benodol, fod Iesu Grist yn Gyfryngwr rhwng Duw a dynion o osodiad Dwyfol: "Wele fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal; fy etholedig, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn." "At yr Hwn yr ydych yn dyfod, megys at faen bywiol, a wrthodwyd gan ddynion, eithr etholedig gan Dduw a gwerthfawr." "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd Efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Ac nid hyny yn unig, ond fod Mab Duw, fel Gwaredwr y byd, i ddyoddef a marw, yn aberth o arogl peraidd i Dduw, ac yn iawn dros bechodau. "Yr Hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed Ef." Yr oedd hyn yn y cyfammod hedd rhwng y Tad a'r Mab er tragywyddoldeb, fel sylfaen ogoneddus trefn achub pechadur, trwy yr hyn yr oedd ei gyfiawnder Ef yn cael ei ddangos, "fel y byddai Efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu;" yr hyn hefyd a eglurwyd yn raddol i ddynion yn oesoedd boreuol y byd, trwy yr addewidion, y cysgodau, a'r prophwydoliaethau, ac a lwyr gyflawnwyd ar Galfaria, pan y bu Crist farw ar y groes. Yr oedd yr aberthau eu hunain, fel "cysgod daionus bethau i ddyfod," yn rhagddangos dyoddefiadau a marwolaeth y Cyfryngwr yn benodol iawn; canys nid oedd na chyw colomen, oen blwydd, anner goch, na bustach seithmlwydd, y rhai y tywelltid eu gwaed ar yr allor-

au Iuddewig, nad oeddynt yn gorfod dyoddef a marw dan gyllyll llymion yr aberthwyr; ac os oedd y rhai hyny fel cysgod yn dyoddef a marw, rhaid eu bod yn dangos yn amlwg a tharawgar neillduol y byddai yn rhaid i'r Sylwedd ei hun, yr hwn a ddynodent, ddyoddef a marw hefyd. Y prophwydi hefyd oeddynt yn rhagfynegi dyoddefiadau a marwolaeth Crist yn amlwg iawn: "Fel dwfr y'm tywalltwyd, a'm hesgyrn oll a ymwahanasant; fy nghalon sydd fel cŵyr yn nghanol fy mherfedd." "Efe a orthrymwyd, ac Efe a gystuddiwyd, ac nid agorai ei enau; fel oen yr arweiniwyd Ef i'r lladdfa—o garchar ac o farn y cymerwyd Ef, a phwy a draetha ei oes Ef? Canys Efe a dorwyd o dir y rhai byw, rhoddwyd pla arno Ef am gamwedd fy mhobl. Eithr yr Arglwydd a fynai ei ddryllio Ef; Efe a'i clwyfodd; pan osodo Efe ei enaid yn aberth dros bechod, Efe a wêl ei had, Efe a estyn ei ddyddiau; ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn ei law Ef." "Ac wedi dwy wythnos a thriugain y lleddir y Messïah, ond nid o'i achos ei hun."

Yr oedd yr holl brophwydoliaethau hyn, yn gystal â lliaws eraill i'r un amcan, wedi eu llefaru gannoedd o flynyddoedd cyn dyfodiad Crist yn y cnawd; mewn canlyniad, nis gallasai y prophwydi eu hunain eu rhagweled, ond fel yr oedd Ysbryd Duw yn eu dadguddio iddynt; ac yr oedd gwaith yr Ysbryd yn gwneyd y cyfryw ddadguddiad iddynt, yn brawf fod hyny i gymeryd lle, yn ol cynghor a rhagfwriad Duw.

Yr oedd Crist ei hun, a'i apostolion, yn dysgu yr un athrawiaeth; canys pan oedd yr Iesu bendigedig yn cyddeithio â'r ddau ddysgybl oeddynt yn myned i lawr o Jerusalem tuag Emmaus, efe a ddywedai wrthynt—"O ynfydion, a hwyrfrydig o galon i gredu yr holl bethau a ddywedodd y prophwydi! Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?"

A Phedr yntau, wrth bregethu yn Jerusalem ar ddydd y Pentecost, a osodai allan yr un athrawiaeth, yn y modd mwyaf amlwg a phenodol, gan ddywedyd,—"Ha wŷr Israel, clywch y geiriau hyn; Iesu o Nazareth, gŵr profedig gan Dduw yn eich plith chwi, trwy nerthoedd a rhyfeddodau, ac arwyddion, y rhai a wnaeth Duw trwyddo Ef yn eich canol chwi, megys ag y gwyddoch chwithau: Hwn, wedi ei roddi trwy derfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw, a gy-

merasoch chwi, a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch ac a laddasoch." Ond nid oedd y rhagosodiad hwn o eiddo Duw, gyda golwg ar ddyoddefiadau a marwolaeth y Cyfryngwr, yn ymyryd dim yn y mesur lleiaf â rhydd-weithrediad yr Iuddewon, yn eu creulonder yn cymeryd bywyd y Messïah, nac yn ysgafnhâu dim ar eu heuog-rwydd yn y weithred. Canys oddiar eu gelyniaeth at yr Iesu, maleisrwydd a dryganiaeth yr egwyddor ddrwg ag oedd yn llywodraethu eu calonau, y croeshoeliasant hwy Ef. O'i haelfrydedd a'i gariad anfeidrol at yr hil ddynol yn eu trueni, y traddododd Duw ei Fab; ond nid gyda golwg ar gyflawniad o fwriad grasol Duw tuag at y byd y rhoddasant hwy Ef i farwolaeth, ond o herwydd eu drwg, eu creulonder, a'u casineb ato. Yma yr oedd gras, cariad, a haelfrydedd Duw, o un tu, a drygioni, creulon-der, ac euogrwydd yr Iuddewon, o'r tu arall, yn cyfarfod â'u gilydd, ac megys yn cydweithredu yn nygiad o am-gylch un o'r gweithredoedd penaf a gyflawnwyd erioed yn llywodraeth y nef. Yma, ar Galfaria, yn marwolaeth ei Fab, y rhoddodd Duw yr arddangosiad mwyaf dysglaer a gogoneddus o'i gariad at y byd; ac yn yr un amgylch-iad y rhoddodd yr Iuddewon yr arddangosiad mwyaf dychrynllyd ac ofnadwy o'u drwg, eu creulonder, a'u calongaledwch, pan y croeshoeliasant Arglwydd y bywyd. Y cymhellion i'r weithred sydd bob amser yn dangos ei gwir nodwedd; ac y mae grym y cymhellion yn cael ei arddangos yn mawredd y weithred a gyflawnir. Cariad Duw at y byd oedd yn ei gymhell i roddi ei Fab i farw; ac yn gymaint mai dyma oedd y weithred benaf o'i eiddo, yma y mae yr arddangosiad penaf o'i gariad an-feidrol. Ac ar y llaw arall, drygioni yr Iuddewon oedd yn eu cymhell hwy yn eu gweithred: â dwylaw anwir y croeshoeliasant hwy Arglwydd y bywyd, a hyny am fod eu calonau yn llawn o elyniaeth ato. Ac yn ngwyneb fod eu gweithred yn un mor ysgeler, y mae hyny yn ar-ddangosiad ofnadwy o'u heuogrwydd. Nid ar gyfnewid-iolrwydd yr amseroedd, chwyldröadau natur, na damwain o un math, yr oedd marwolaeth y groes yn dibynu, ond ar benderfyniad tragywyddol ac anghyfnewidiol yr Hwn ag sydd wedi gosod ein cymhorth ar Un cadarn, ac wedi dyrchafu Un etholedig o'r bobl.

2. *Iawnol o ran ei natur:* "Felly Crist hefyd, wedi ei

offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau." "Unwaith yn niwedd y byd yr ymddangosodd Efe (Crist) i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun." "Ond Efe a archollwyd am ein camweddau ni; Efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno Ef; a thrwy ei gleisiau Ef yr iachäwyd ni. Nyni oll a grwydrasom fel defaid; troisom bawb i'w ffordd ei hun; a'r Arglwydd a roddes arno Ef ein hanwiredd ni i gyd." Nid ydys wrth hyn i ddeall fod Crist wedi dileu pechod neb yn *weithredol* pan y bu farw ar y groes, ond iddo roddi ei hunan yn bechaberth o arogl peraidd i Dduw, trwy ac yn haeddiant yr hwn y gall trugaredd a maddeuant ddylifo o orsedd y nef i'r penaf o bechaduriaid; a thrwy yr hwn y mae Duw yn gyfiawn, ac eto yn cyfiawnhâu yr annuwiol—y pechadur yn cael ei achub, pechod yn cael ei gondemnio, gorsedd a chyfraith y nef yn eu perffaith gadernid, a'r holl briodoliaethau Dwyfol yn cydymddysgleirio. Heb aberth neu iawn dros bechod, nis gallasai Duw faddeu i'r euog, mabwysiadu yr estron i'w deulu, na sancteiddio yr aflan; onidê buasai yn gweithredu yn groes i'w natur a'i ddeddf sanctaidd ei hun, yr hon a fyddai yn dyb nas gellid ei choleddu am fynydyn am y Bôd cyfiawn a sanctaidd ag sydd yn llywodraethu y bydoedd. Pe buasai Duw yn gallu maddeu y pechod lleiaf heb iawn, gallasai faddeu y mwyaf ar yr un tir; ac os gallasai faddeu un pechod, gallasai faddeu pob pechod. Ac os gallasai Duw faddeu pechod un heb iawn, gallasai faddeu pechodau pawb ar yr un tir. Ond byddai i Dduw achub heb iawn yn llwyr ddiddymu awdurdod a grym ei orchymynion moesol—yn cymylu gogoniant ei nodweddiad fel llywodraethwr—yn iselhâu unionder ei lywodraeth—ac yn gwanhâu grym holl wirionedd a dylanwad ei fygythion. Byddai hyn yr un peth a gollwng ffrwyn penrhyddid ar wàr pob nwyd a chwant—yn ddinystriad llwyr ar bob cymhelliadau i sancteiddrwydd a rhinwedd—yn dafliad ymaith ar egwyddorion cyfiawnder a gwirionedd—ac yn agorfa i holl fôdau rhesymol llywodraeth Duw i ymddwyn yn ol eu mympwy eu hunain. Byddai hyn yn dwyn i lawr yn llwyr y clawdd terfyn sydd rhwng rhinwedd a drygioni; oblegid pwy a allai benderfynu, ar ol hyn, beth fyddai y naill na'r llall, os byddai i Dduw, yr hwn y mae ei natur a'i weithrediadau i'w hystyried fel

safon ardderchogrwydd moesol, gymeryd ymaith linell y gwahaniaeth rhyngddynt, trwy wobrwyo pob un o honynt yr un fath a'u gilydd. Ond ni bu erioed, ac ni bydd byth, y fath anghysonderau yn llywodraeth Duw. Y mae y gwahaniaeth bob amser rhwng yr hyn sydd gyfiawn a'r hyn sydd ddrygionus—rhwng rhinwedd a drygedd—wedi cael eu cadw yn amlwg ar wahan oddiwrth eu gilydd yn holl ymddygiadau Duw yn llywodraethiad y byd. Ond ni wnaed erioed y fath amlygiad o hyny ag yn marwolaeth Crist: "Yr Hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed Ef, i *ddangos* ei gyfiawnder Ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddyoddefgarwch Duw: i *ddangos ei gyfiawnder* Ef y pryd hwn; fel y byddai Efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu."

Hefyd, nis gellir mewn gwirionedd roddi cyfrif boddlonol am ddyoddefiadau a marwolaeth y Cyfryngwr, yn ol un egwyddor adnabyddus i ni yn llywodraeth Duw, ond yn ol yr egwyddor drososodiadol neu iawnol yn unig. Canys pan yr ydys yn darllen am y Cyfryngwr—ei fod yn sanctaidd, diddrwg, dihalog, a didoledig oddiwrth bechaduriaid—ïe, ei fod yn gyfryw ag yr oedd y Tad ei hun yn cael ei lwyr foddloni ynddo; ac eto ar yr un pryd ei fod yn ŵr gofidus a chynefin â dolur—yn myned trwy y dyoddefiadau mwyaf arteithiol, ac yn dyoddef y farwolaeth fwyaf poenus a gwarthus, sef marwolaeth felldigedig y groes,—onid yw yn naturiol gofyn, pa fodd a phaham y mae y glân, y diniwed, a'r dinam, yn dyoddef o gwbl? Oni wna Barnwr yr holl ddaear farn? Ond nid oes un atebiad goleu, rhesymol, a boddlonol i'w gael, ond yr hwn a roddwyd gan y prophwyd ysbrydoledig: "Efe a archollwyd am ein camweddau ni; Efe a ddrylliwyd am ein hanwireddan ni; cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno Ef, a thrwy ei gleisiau Ef yr iachäwyd ni."

3. *Perffaith a digonol o ran ei haeddiant:* "Crist hefyd, wedi ei offrymu *unwaith* i ddwyn ymaith bechodau llawer." "Eithr yr awrhon *unwaith* yn niwedd y byd yr ymddangosodd Efe." "Ac megys y gosodwyd i ddynion farw *unwaith*." Ac ar yr un waith hon, Crist a wnaeth aberth perffaith, unwaith am byth, a hollol ddigonol. Mae yma gyfeiriad at y *bwch diangol* ar ddydd mawr y cymmod, yr hwn a ddygai bechodau cynnulleidfa meibion

Israel i'r anialwch, i dir ymneillduaeth. Ac felly Crist yntau, trwy ei farwolaeth, a orphenodd ddwyn oddiamgylch drefn, trwy yr hon y gellir cymeryd ymaith holl euogrwydd pechod y rhai a gredant ynddo Ef i dir anghof tragywyddol. Hefyd cyfeirir yma at waith yr archoffeiriad yn Israel gynt, yn myned i mewn i'r cysegr sancteiddiolaf â gwaed: ond "nid fel yr offrymai Efe ei hun yn fynych, megys y mae yr archoffeiriad yn myned i mewn i'r cysegr bob blwyddyn â gwaed arall (oblegid yna rhaid fuasai iddo yn fynych ddyoddef er dechreuad y byd), eithr yr awrhon yn niwedd y byd yr ymddangosodd Efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun." Ac "wedi *offrymu un aberth* dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw." Nid oedd yr holl aberthau dan yr oruchwyliaeth Iuddewig ond cysgodau yn unig, fel athraw i gyfeirio yr addolwyr at Grist, y Sylwedd mawr o honynt. Mewn canlyniad yr oedd yn anghenrheidiol eu hoffrymu hwynt yn fynych, am fod y meddwl dynol yn rhy dueddol i anghofio yr Hwn a gysgodid. Ond yn nghanol yr holl aberthau hyn, dyna oedd llais cyfiawnder Dwyfol—"Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." Nid oedd cymaint ag un o'r aberthau Iuddewig a allasai ddyhuddo anfoddlonrwydd y meddwl Dwyfol yn erbyn pechod; a thrwy holl gyfnod maith yr oruchwyliaeth Iuddewig, nid oedd yr holl aberthau a laddwyd dani ond cynifer o gyfeiriadau at yr Aberth mawr ar ben Calfaria. Yr oedd gofyniadau cyfiawnder Dwyfol yn aros o hyd yr un, yn nghanol afonydd o waed, a gruddfanau y crëaduriaid a aberthid. Ond pan offrymodd Crist ei hun yn aberth ac yn offrwm difai i Dduw, fe ddaeth y cyfiawnder Dwyfol ei hun yn gymmodadwy â'r pechadur, a Duw ei hunan yn cyhoeddi ei fod wedi cael ei lwyr foddloni yn aberth ei Fab. Ac nid yw yr aberth hwn wedi ei gyfyngu o ran ei haeddiant i ychydig mewn rhifedi: "Felly Crist hefyd, wedi ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau *llawer*." Nid i'r Iuddewon yn unig y mae yr aberth hwn, ond i'r Cenedloedd hefyd. "Eithr yr ydym yn gweled Iesu, yr hwn a wnaed ychydig yn îs na'r angelion, o herwydd dyoddef marwolaeth, wedi ei goroni â gogoniant ac anrhydedd; fel trwy ras Duw y profai farwolaeth dros bob dyn." "Megys trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad; felly hefyd trwy gyfiawnder un

y daeth dawn ar bob dyn i gyfiawnhâd bywyd." Mae trefn y cadw trwy Iesu Grist yn ardderchog a mawreddig iawn—yn berffaith gyfaddas a digonol i'r penaf o bechaduriaid o ran ei heffaith a'i dylanwad—ac ynddi ddigon ar gyfer yr holl fyd. Mae ffordd yr iachawdwriaeth wedi ei hagor o flaen yr Iuddew a'r Groegwr. Yn awr y mae pob peth yn barod; mae y darpariadau yn gyflawn, a'r Aberth yn anfeidrol ddigonol. Ac y mae Duw yn barod i dderbyn yn gymmodlawn pwy bynag a ddaw ato yn enw a haeddiant ei anwyl Fab. Mae y cenadon wedi eu hanfon allan, a'u hawdurdodi i gyhoeddi fod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg Ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau, ac i wahodd pawb i ddyfod i gyfranogi o fendithion dirif ac anfeidrol werthfawr y cyfammod newydd. "Mae yr Ysbryd a'r briodasferch yn dywedyd, Tyred. A'r hwn sydd yn clywed, dyweded, Tyred. A'r hwn sydd â syched arno, deued: a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymered ddwfr y bywyd yn rhad."

II. Ailddyfodiad Iesu Grist: "A ymddengys yr ail waith heb bechod, er iachawdwriaeth."

Fe ymddangosodd Crist y tro cyntaf yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus; ond Efe a ymddengys yr ail waith yn ngogoniant ei Dad a'i angelion sanctaidd. Efe a ddaeth y tro cyntaf i fod yn bechaberth, ond fe ddaw yr ail waith i fod yn Farnwr byw a meirw. Mae Dr. Doddridge yn aralleirio yr adnod fel y canlyn, "Efe a ddaw fel yr archoffeiriad yn ei wisg urddasol, wedi bod yn cyflawni y weithred oruchel o wneyd cymmod dros y bobl, heb ddim arno yn dwyn arwyddion o ddarostyngiad neu iselhâd, na dim yn tebygoli i'r ffurf yn yr hon y daeth Ef i wneyd iawn am bechod. A thra y byddo yn dwyn i'w ganlyn ddychrynfeydd tragywyddol i'r holl rai hyny a'i dirmygasant ac a'i gwrthodasant Ef, efe a ymddengys *i'r rhai a fydd wedi bod yn dysgwyl am dano* i gyflawni eu hiachawdwriaeth dragywyddol, ac i'w harwain hwynt gyrff ac eneidiau i'r gororau gogoneddus hyny, y rhai a ddarparasai efe iddynt." Fe ddaw Crist yr ail waith yn ei ogoniant a'i fawreddigrwydd swyddol, gan eistedd ar ei orseddfainc fel Barnwr pawb, yn cael ei foli a'i ddyrchafu gan yr angelion nerthol, y rhai fydd yn ei amgylchynu ac yn ei wasanaethu ef y pryd hwn. Efe a ymddengys

1. *Er dangos uniondeb llywodraeth Duw ar y byd.* Mae

ffyrdd Duw yn y môr, a'i lwybrau yn y dyfroedd mawrion; dyfnder mawr yw ei farnedigaethau Ef i ni yn bresennol yn fynych iawn. Mae llawer iawn o weithredoedd Duw, mewn rhagluniaeth a gras, yn bethau "nas gwyddom ni yr awr hon." Ac wrth edrych arnynt, a meddwl yn eu cylch, ni fydd genym yn fynych ond gwaeddi allan yn ngeiriau yr Apostol, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau Ef! a'i ffyrdd Ef mor anolrheinadwy ydynt!" Bu Asaph unwaith yn ei brofedigaeth wrth weled llwyddiant yr annuwiol: "canys nid oes rhwymau yn eu marwolaeth; a'u cryfder sydd heini. Nid ydynt mewn blinder fel dynion eraill, ac ni ddialeddir arnynt hwy gyda dynion eraill. Eu llygaid a saif allan gan frasder; aethant dros feddwl calon o gyfoeth." Bu gweled hyn yn flinder i'r Salmydd, hyd nes yr aeth i gysegr Duw, ac yno ddeall eu diwedd hwynt. Mae gweled gwênau Rhagluniaeth ar y drygionus, a'r cyfiawn mewn eisieu yn ei ymyl—gweled plentyn Duw yn cael ei ddarostwng o binacl llwyddiant i waelodion trallod, tra mae gelyn Duw yn llwyddo yn ei amcanion—gweled Job ar y domen a Herod falch ar ei orsedd,—braidd yn peri i ni weithiau ofyn, "Oni wna Barnydd yr holl ddaear farn?" Pan y meddylir mai llwyddiant teyrnas y Messïah yn y byd yw prif amcan goruchel Duw yn nghynnaliad a llywodraethiad pob peth ar y ddaear—y mae ei ffyrdd Ef yn anolrheiniadwy iawn i ni, yn ngwyneb hyny, pan yr ydys yn canfod fod y rhan fwyaf o gyfoeth, dylanwad, ac awdurdod y byd hwn, yn cael eu gadael yn nwylaw ei elynion penaf, y rhai a wnant eu goreu i rwystro lledaeniad ei deyrnas Ef yn y byd. Mae gweled y gweinidog ieuanc, doniol, duwiol, dysgedig, a llwyddiannus—y cenadwr eiddgar, braidd newydd ymgydnabyddu â iaith y miliynau Paganiaid y mae wedi dyfod i'w plith, yn gwywo, dihoeni, a marw, cyn cyrhaedd deugain mlwydd oed—a gweled yr anffyddiad cellweirus, cableddus, ag sydd yn gwneyd ei oreu i wenwyno eneidiau ei gyd-ddynion, yn cael bywyd, iechyd, a llwyddiant bydol, nes y mae yn bedwar ugain oed, yn ein dyrysu yn lân.Ië, gweled llong yn llawn o genadon hedd yn suddo ar ei mordaith i'r dyfnder, pan y mae llong y môrladron yn cael rhwydd hynt i gyflawni eu hysgelerdra! Gwyddom fod y pethau hyn yn ffeithiau,

ond nis gwyddom pa fodd i roddi cyfrif am danynt, fel pethau ag sydd yn unol â doethineb, cyfiawnder, a daioni, yn llywodraeth Duw i'w goddef. Mae llawer o ffeithiau fel yma o'n hamgylch yn fynych, nad oes genym ond cyfaddef mai dyfnder mawr ydynt i ni yn bresennol. Ond pan yr ymddangoso Crist, dan awdurdod yr Hwn fel Cyfryngwr y mae y Tad wedi ymddiried llywodraethiad pob peth, yr ail waith ar gymylau y nef—pan y rhydd Efe y deyrnas i fyny i Dduw a'r Tad, Efe a rydd ei gyfrif i fyny yn gyhoeddus, fel prifweinidog ei Dad, yn ngwydd holl gymanfa fawr y farn ddiweddaf, gan arddangos iddynt oll uniondeb ei holl weithrediadau, ynghyd a'r egwyddorion gogoneddus oddiar y rhai y cawsant eu dwyn o amgylch, er boddlonrwydd dedwyddol i'w gyfeillion, a dychryn tragywyddol i'w elynion.

A'r pryd hwnw y bydd y pethau nas gwyddom yr awr hon yn cael eu dadguddio. Ac er fod cymylau a thywyllwch yn awr yn fynych yn amgylchynu ei orseddfainc; eto yn ngoleuni y diwrnod hwnw, ceir gweled mai trugaredd a gwirionedd a ragflaenant ei wyneb.

2. *Er gosod allan ei ogoniant yn ei swydd fel Cyfryngwr.* Pan ymddangosodd Crist y tro cyntaf, fe ddaeth mewn agwedd gwas; ac mewn canlyniad i hyny, dirmygid ef gan yr Iuddewon, gan ddywedyd, "Nid oes na phryd na thegwch iddo; pan edrychom arno, ni bydd pryd fel y dymunem Ef. Dirmygedig yw, a diystyraf o'r gwŷr; gŵr gofidus a chynefin â dolur; ac yr oeddym megys yn cuddio ein hwynebau oddiwrtho; dirmygedig oedd, ac ni wnaethom gyfrif o hono." Pan oedd Crist yma yn nyddiau ei gnawd, nid fel brenin, ond fel gwas, y gwnaeth ei ymddangosiad, gan fyw gyda Mair a Joseph hyd ddechreuad ei weinidogaeth gyhoeddus, a throi yn nghylchoedd y bobl fwyaf gwerinaidd yn y wlad, a gweithio ei waith fel saer (fel y tybir) gyda'i dad cyfrifedig; ac mewn canlyniad, yr oedd yn faen tramgwydd i'r Iuddewon, y rhai a ddysgwylient y Messïah yn dywysog ysplenydd, a'i athrawiaeth yn ffolineb yn ngolwg y Groegiaid. Ond pan ymddengys Crist yr ail waith, fe ddaw yn ngogoniant ei Dad a'r angelion santaidd. Ac yna y Crist a ddirmygwyd gan yr Iuddewon a fydd gogoniant y bydysawd, a'r dwylaw a groeshoeliwyd ar y pren fydd yn dal teyrnwialen gorsedd Ior. Efe a ymddengys y diwrnod hwnw fel

brenin y breninoedd. Cymylau y nef fydd ei gerbydau, ac angelion Duw ei osgorddlu. Yna bydd ei ogoniant yn ddysgleiriach na'r haul, ei awdurdod yn cael ei gydnabod gan bawb, a phob gogoniant crëadigol megys yn diflanu yn mhresennoldeb ei ogoniant dysgleiriach Ef. A phan ymddangoso Efe y diwrnod yma ar ei orsedd farnol—pan y bydd y beddau a'r moroedd yn gorfod rhoddi i fyny eu meirw wrth ei orchymyn—bydd ei allu yn ddigon amlwg. A phan y byddo pawb yn gorfod ymddangos o'i flaen i gael eu barnu, a'i elynion, angelion a dynion drwg, yn gorfod plygu ger ei fron, bydd ei awdurdod yn ddigon amlwg. A bydd y dorf fawr gadwedig o blant y cystudd mawr ar ei ddeheulaw, yr hon na ddichon neb ei rhifo, ac oll yn eu gynau gwynion, ac ar eu newid wedd, yn gosod allan yn ddigon amlwg effeithiolrwydd ei swydd gyfryngol, a dylanwad ei waed Ef er glanhâu oddiwrth bob pechod. Ni bydd neb y diwrnod yma yn ammheu Duwdod Crist, na'i deilyngdod i gael ei goroni yn Arglwydd pawb oll. Bydd goruchwyliaeth yr efengyl y dydd hwn yn terfynu, a Christ yn rhoddi y deyrnas i fyny i Dduw a'r Tad, wedi cyflawni holl ammodau yr hen gyfammod —yr hen arfaethau tragywyddol yn eu cysylltiad âg achub pechaduriaid wedi cyrhaedd eu hamcan—pob gelyn wedi ei ddarostwng—a Christ, wrth orphen ei waith achubol, o un tu yn anerch ei Dad, gan ddywedyd, "Wele fi a'r plant a roddaist i mi;" ac o'r tu arall yn eu hanerch hwythau, gan ddywedyd, "Deuwch, chwi fendigedigion blant fy Nhad, etifeddwch y deyrnas yr hon a barotöwyd i chwi er cyn seiliad y byd."

3. *Fe ymddengys Crist yr ail waith i dalu i bawb yn ol ei weithred:* "Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist; fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corff, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynag ai da ai drwg." Oblegid yr Arglwydd ei hun a ddisgyn o'r nef gyda bloedd, a llef yr archangel, ac âg udgorn Duw, a'r meirw yn Nghrist a gyfodant yn gyntaf: yna ninnau y rhai byw, y rhai a adawyd, a gipir i fyny gyda hwynt, yn y cymylau, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr; ac felly y byddwn yn wastadol gyda'r Arglwydd." "A llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffröant, rhai i fywyd tragywyddol, a rhai i warth a dirmyg tragywyddol." "A Mab y dyn, pan ddêl yn ei ogoniant,

a'r holl angelion sanctaidd gydag Ef, yna yr eistedd ar orseddfainc ei ogoniant. A chydgesglir ger ei fron Ef yr holl genedloedd; ac Efe a'u didola hwynt oddiwrth eu gilydd, megys y didola y bugail y defaid oddiwrth y geifr; ac a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy. Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotöwyd i chwi er seiliad y byd." "Yna y dywed Efe hefyd wrth y rhai a fyddant ar y llaw aswy, Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotöwyd i ddiafol ac i'w angelion." Yma bydd llygad hollwybodol y Barnwr yn treiddio i ddirgeloedd pob calon, a'i ogoniant yn brawychu pob enaid dïailenedig. Bydd cydwybod euog yn effro y dydd hwn, yn perffaith gydsynio â dedfryd yr Orsedd; a'r drygionus yn cael ei fwrw ymaith i'r carchar tragywyddol, lle nas gall un pelydr o obaith am ryddhâd byth ddyfod ato. Dyma ddiwrnod ofnadwy i elyn Duw! Ond dyma fydd gŵyl coroniad y saint: y corff a'r enaid yn ailymuno â'u gilydd, i gael bod gyda'r Arglwydd yn wastadol. A phan fyddo y Barnwr wedi esgyn yr orsedd, a'r enaid colledig yn crynu mewn braw, bydd y cyfiawn yn gallu dywedyd yn orfoleddus, "Dacw y Duw y gobeithiais ynddo;" ac yna câ ei dderbyn i mewn i lawenydd ei Arglwydd, i fwynhâu tragywyddol wledd, lle na ddaw na gelyn na gofid byth i'w gyfarfod. Bydd holl weithrediadau yr Iesu, fel Barnwr, y dydd hwn yn hollol gyhoeddus. Ni wna gosbi yr un gelyn, heb fod hyny yn ngwydd holl gymanfa y farn; ac ni wobrwya yr un o'r ffyddloniaid, heb fod hyny hefyd yn ngwydd yr holl fydysawd feddyliol, fel y byddo i bawb gael amlygrwydd hollol fod cosb y naill, a gwobr y llall, yn berffaith yn ol egwyddorion cyfiawnder a gwirionedd. A dedfryd y Barnwr y pryd hwn a saif yn dragywydd: "Yr hwn sydd frwnt, bydded frwnt eto; a'r neb sydd gyfiawn, bydded gyfiawn eto."

III. Agwedd meddwl y Cristion gyda golwg ar ailddyfodiad Crist: "dysgwyl" am dano. Crist, yn ei berson, ei osodiad yn ei swydd gyfryngol, yr hyn a gyflawnodd yn ei swydd fel Cyfryngwr, a'r hyn a gyflawna efe eto, yw prif Wrthddrych ffydd a gobaith y Cristion! A'r fath Wrthddrych hefyd yw Efe i'ddysgwyl am dano!

Mae yr ymadrodd hwn, o un tu, yn gosod allan ddy-

muniad yr enaid Cristionogol i gyfarfod â'r Arglwydd Iesu yn angeu a'r farn, a bod yn dragywyddol yn ei gymdeithas yn ardaloedd y gogoniant dysglaer byth; a'i ymostyngiad tawel, o'r tu arall, i aros amser Duw i gael ei gymeryd ato i fwynhâu ei etifeddiaeth.

Yr oedd yr Apostol Paul yn teimlo grym yr egwyddor hon yn gweithio yn rymus iawn ar ei feddwl, pan y dywedai, "Canys y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu; gan fod genyf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ; canys llawer iawn gwell ydyw. Eithr aros yn y cnawd sydd yn fwy anghenrheidiol o'ch plegid chwi." Yr oedd yma chwant cryf ac angerddol iawn am fod gyda Christ; ond eto yr oedd yma, ar yr un pryd, ymostyngiad hollol i ewyllys y Tad nefol gyda golwg ar yr amser ag y byddai i hyny gymeryd lle. Mae dysgwyliad y Cristion am ailymddangosiad Crist, yn amlygu

1. *Ffydd a hyder diysgog yn haeddiant a rhinwedd ei aberth.* Trwy ffydd fywiol y mae y Cristion yn cael ei ddwyn i feddiant o'r bendithion trysoredig yn Iesu Grist fel Cyfryngwr. Mae y ffydd hon yn dwyn yr enaid i undeb, o ran egwyddor a theimlad, âg ef; a thrwy hyny y mae yn mwynhâu pleserau a hyfrydwch gwir grefydd, ac y mae y blas a'r pleser ag y mae efe yn fwynhâu yma yn yr anial, a hyny yn nghanol llawer o elynion a blinderau, yn crëu awydd cryf ynddo am eu cael yn fwy llawn a phur yn mhresennoldeb dilèn yr Arglwydd Iesu. Pan y mae ffydd y Cristion yn gadarn a diysgog yn haeddiant anfeidrol aberth y groes, y mae ei ofnau yn cilio o'i fynwes, a'i ammheuon yn diflanu, a'i hyder y fath yn Nghrist, fel nas gall gloesion angeu ei ddychrynu, na'r olwg hagraf ar frenin y dychryniadau ei arswydo; ac wrth edrych ar y bedd, fe genfydd nad yw ond y fan lle y gorweddodd yr Iesu, a bod agoriadau uffern a marwolaeth yn crogi ar ei ysgwydd Ef. Y mae yn hyderus fod yr hyn ydyw yr Iesu, a'r hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd, yn ddigon iddo i fentro arnynt am ei fywyd byth; a than y teimladau hyn y mae "yn dysgwyl" am dano.

2. *Tawel ymostyngiad i'w ewyllys.* Er fod y Cristion ar brydiau yn hiraethu am fod gyda Christ, ac yn gwybod mai bod gydag Ef yn unig a all lanw yn gyflawn ei ddymuniadau, eto nid yw yn dymuno hyny yn groes i ewyllys ei Dad. Pan oedd Crist yn ymadael â'r byd hwn, ac

yn ffarwelio dros dro â'i ddysgyblion—y rhai oedd ar dori eu calon wrth feddwl am ei ymadawiad—Efe a'u hanerchai hwynt, gan ddywedyd, "Na thralloder eich calon, yr ydwyf yn myned i barotöi lle i chwi; ac os myfi a âf, ac a barotöaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun; fel lle yr wyf fi y byddwch chwithau hefyd." Mae yr addewid hon yn perthyn i holl ganlynwyr Crist ymhob oes fel eu gilydd; ac yn gymaint a'i fod Ef wedi gadael y byd hwn i fyned i barotöi lle iddynt, y mae Efe yn sicr o ddyfod yn ei amser ei hun i'w dwyn hwynt tuag adref. A chan fod hyn yn bod, eu braint a'u dyledswydd hwythau ydyw dysgwyl am dano. Ond os rhaid i'r Cristion gyfarfod â llawer o brofedigaethau a thywydd garw ar ei daith, nid yw yn grwgnach nac yn anfoddloni llawer, gan ei fod yn gwybod y caiff pobpeth gydweithio er ei dragywyddol lesâd, gan adael y cyfan yn llaw ei Briod Iesu, gyda golwg ar yr amser *pa bryd, ymha ddull*, neu trwy *ba foddion*, y daw i alw am dano adref.

3. *Ymblesериad ac ymhyfrydiad calon ynddo.* Pan fyddo gwenau y Nef ar enaid y Cristion, y mae yn barod i waeddi allan gyda'r Salmydd, "Pwy sydd genyf fi yn y nefoedd ond tydi, ac ar y ddaear nid ewyllysiais neb gyda thi!" "Yr Arglwydd yw fy rhan, medd fy enaid." "Digonir fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di." Mae gan bob enaid ryw brif wrthddrych ei ymhyfrydiad, ar yr hwn y mae ei feddwl yn aros, a'i fyfyrfodau yn cartrefu, ac er cyrhaedd yr hwn y mae prif egnïon ei fywyd yn cael eu rhoddi ar waith. Nid oes neb a fu yn talu y sylw lleiaf ar weithrediadau ei feddwl, heb ganfod fod ganddo ryw brif wrthddrych neu gilydd i ymhyfrydu ynddo, ac i ymestyn ato; canys byddai mor hawdd diddymu y meddwl o fodolaeth, a'i rwystro i ymhyfrydu yn ei brif wrthddrych. Crist ydyw prif wrthddrych pleser ac ymhyfrydiad y gwir Gristion, ac yn ei gyfraith Ef y mae yn hoffi myfyrio ddydd a nos. Lle bynag y mae Crist yn bresennol, y mae yntau yn hoffi bod; a lle bynag nad yw Efe yn bresennol, y mae yntau yn hoffi cadw draw. Y mae yn rhodio llwybrau dyledswydd a sancteiddrwydd, oblegid fod Crist yno; y mae yn hoffi syllu a rhyfeddu mawredd a godidogrwydd golygfeydd natur, am ei fod yn canfod Duw ynddynt; ac y mae yn ymhyfrydu llawer, yn moddi-

ion gras, yn y dirgel a'r cyhoedd, am fod Crist yn sicr o fod ynddynt. Ond y mae yn ymadael o gynghor yr annuwiolion; nid yw yn sefyll yn ffordd pechaduriaid; ac nid yw yn aros yn eisteddfa y gwatwarwyr; oblegid nad yw Crist un amser yn rhoddi ei bresennoldeb a'i wênau yn y cyfryw fanau.

Mae y Cristion yn hoffi myfyrio ar Grist yn ei berffeithderau anfeidrol—yn mhurdeb ei natur, ac angerddolrwydd ei gariad, ac yn neillduol yn nghyflawnder diderfyn bendithion ei iachawdwriaeth, nes y mae yn cael ei orlenwi gan bleser a llawenydd; a than y cyfryw deimladau y mae yn barod i waeddi allan—"Fy Anwylyd sydd wỳn a gwridog, ac yn rhagori ar ddeng mil: y mae Efe oll yn hawddgar." Ac yn y mwynhâd o'r fath lawenydd annhraethadwy, y mae yn "dysgwyl" am dano.

4. *Gobaith hiraethlawn am iachawdwriaeth gyflawn:* "Dysgwyl am dano er iachawdwriaeth,"—sef cyflawn ryddhâd oddiwrth brofedigaethau, y siomedigaethau, a'r holl ddrygau, sydd i'w cyfarfod yn y byd. Dysgwyl am bleserau sylweddol, a dedwyddwch perffaith yn myd yr ysbrydoedd—gwaredigaeth i'r corff o garchar y bedd, ail uniad corff ac enaid, a'r gogoniant tragywyddol ar ol boreu yr adgyfodiad, wedi i'r hyn sydd farwol gael ei lyncu yn llwyr gan fywyd; cael gweled Iesu fel y mae, a bod yn dragywyddol debyg iddo.

Mae y Cristion yn dysgwyl ac yn gobeithio yn ddiysgog am y pethau hyn—gan seilio y dysgwyliad, a'r gobaith da, ar berffeithrwydd aberth y groes, ac anfeidrol deilyngdod y Gwaredwr. "Dysgwyl," nid rhyfygu o un tu, nac ymollwng o'r tu arall, ond ymorwedd yn ffyddiog ar ffyddlondeb Duw mewn cyfammod, yn ngwyneb Iesu Grist. Mae y gobaith hwn megys angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr, ac yn myned i mewn at yr hyn sydd o'r tu fewn y llèn; a thrwy hyny yn galluogi yr enaid i dynu yn ei flaen trwy y tymhestloedd gwaethaf ar fôr y byd, nes cyrhaedd hafan ddymunol tir y bywyd yr ochr draw.

Os mynwn nerth i weithio yn ngwinllan Crist, a dal ein ffordd, a chwanegu cryfder, yn ngwyneb pob rhwystrau a ddelo i'n cyfarfod, rhaid i ni dynu ein grym oddiwrth bethau byd arall. Beth ond gobaith yr efengyl sydd yn ddigonol i gynnal y Cristion yn ei holl dywydd

—i ddwyn yr holl groesau, i wneyd yr holl aberthau, i ymladd â'r holl elynion, sydd i'w cyfarfod ar ei daith?

Ond y mae edrych a dysgwyl am yr iachawdwriaeth hon yr ochr draw, yn ddigon grymus fel cymhelliad i'r Cristion ymhob bwlch a'i cyferfydd. Dyma a alluogodd Moses i adael llŷs Pharaoh, ac a nerthodd Paul i orphen ei yrfa; ac felly mae pob Cristion yn cyflawni ei ddyledswyddau, trwy edrych ar Iesu, a dysgwyl am dano er iachawdwriaeth yn ei ailddyfodiad.

# PREGETH VIII.

## YMGNAWDOLIAD MAB DUW FEL CYMHELLIAD I DDUWIOLDEB.

## GAN Y PARCH. JOHN OWEN, TY'NLLWYN.

"Mawr yw dirgelwch duwioldeb; Duw a ymddangosodd yn y cnawd."—1 TIMOTHEUS iii. 16.

"DUW *sydd un*," yw un o dystiolaethau y gwirionedd am ei Awdwr: y Personau Dwyfol yn un—y priodoliaethau Dwyfol yn un—Duw, yn yr oll ag ydyw, mewn perffaith gysondeb â'r oll a wna. Mae y gwirionedd yn hyn yn dwyn delw ei Awdwr; mae y gwirionedd yn *un*. Po mwyaf y chwilir arno, amlycaf y dengys hyny. Gydag edrychiad arwynebol ar rai rhanau o hono, gellid tybied yn wahanol; ond y mae sylw mwy manwl yn dwyn argyhoeddiad i'r meddwl o'i gysondeb. Fel y dderwen fawr, frigog, gallai cipolwg ar rai o'i changenau roddi lle i un feddwl nad ydynt, ac nas gallant, fod yn *un*. Ond trwy eu holrhain yn ofalus, dygant ni at gorff ardderchog y pren ag]y maent, er eu hamrywiaeth, yn yr undeb agosaf âg ef ac â'u gilydd.

Mae delw y gwirionedd hefyd ar y saint; maent hwythau *yn un*, ac effaith y gwirionedd arnynt yw yr achos o hyny. Synai y Paganiaid at eu hundeb, fel peth dyeithr yn y byd. Ac nid yw eu syndod yn rhyfedd, oblegid yr oeddynt yn anhysbys o'r gwirionedd. Mae bywyd yn undeb y saint—undeb bywiol ydyw. Nid undeb y *fynwent* mo hono. Mae yno undeb, ond undeb marw ydyw, a marwolaeth yw yr achos o hono. Pa fodd y mae y ddau ddyn fyddent yn wastad yn ymgecru mor unol? Meirw ydynt. Undeb gwasanaethgar hefyd yw undeb eglwys Crist; mae felly am ei fod yn undeb bywiol. Maent bawb yn "aelodau i'w gilydd;" a'r "penaf" i fod "yn was i bawb." Mae yn eu plith fwyaf a lleiaf, a gwahaniaeth mawr rhyngddynt; ond nid gormod o wahaniaeth i'r naill fod yn wasanaethgar i'r llall. Mae y saint felly am fod delw y

gwirionedd arnynt. Nid yn unig am fod hyny wedi ei orchymyn yn y gwirionedd, ond am mai felly y mae y gwirionedd ei hunan. Mae gwahanol ranau y gwirionedd, neu wahanol wirioneddau yr efengyl, *yn un*; a'r naill yn wasanaethgar i'r llall—y mwyaf i'r lleiaf, fel y lleiaf i'r mwyaf. Pan oedd yr Apostol Paul yn annog un o'r eglwysi i wneyd tipyn o gasgliad—un o bethau lleiaf teyrnas y Cyfryngwr—defnyddiai un o wirioneddau mwyaf gogoneddus yr efengyl i'w cymhell i hyny:—ddarfod i "Iesu Grist, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd."

Ceir yr undeb hwn o eiddo y gwirionedd yn y testun a'i amgylchiadau. Annogai Paul Timotheus ieuanc i roddi ei feddwl ar ymgnawdoliad Mab Duw tuag at i'w ymddygiad fod yn addas i'r efengyl. "Fel y gwypech pa fodd y mae yn rhaid i ti ymddwyn yn nhŷ Dduw:" pa fodd i beidio bod yn ysgafn—yn fyrbwyll—yn falch o'i lwyddiant. Pa fodd, ynte, yr oedd iddo ochel y pethau hyn? Trwy ymgydnabyddu â gwirioneddau gogoneddus yr efengyl, yn enwedig y gwirionedd mawr hwnw, ymgnawdoliad Mab Duw. Mae yr efengyl yn tynu ei phrif gymhelliadau i ddwyn ei phethau allanol ymlaen, o'r tufewnol; trwy i'w gwirioneddau ysbrydol a gogoneddus gymeryd meddiant o'r meddwl. Dyma y ffordd effeithiol i drefnu y dyn oddiallan;—dyma a sicrhâ y pregethwr ieuanc rhag i'w ieuenctyd gael ei ddiystyru, neu i'r efengyl gael ei diystyru ar gyfrif rhyw wagder y mae fel dyn ieuanc yn ei afael.

Dyga yr Apostol y gwirionedd mawr o ymgnawdoliad Mab Duw i sylw Timotheus, trwy y geiriau "dirgelwch duwioldeb," a "dirgelwch *mawr* duwioldeb." Wrth y gair "duwioldeb" yma, ac yn 2 Tim. iii. 5, y golygir, nid crefydd yn yr ymarferiad o honi—yr hyn fynychaf yw meddwl y gair, ond crefydd Crist fel cyfundrefn—yr efengyl. Mawr yw dirgelwch yr efengyl. Mae cyfeiriad, dybygid, yn yr ymadrodd hwn, at ddirgelwch y grefydd Baganaidd, ar yr hyn y gosodai y Paganiaid gymaint o fri. Mae hanesiaeth yr oesoedd hyny yn ein dysgu fod yr hyn a alwai y Paganiaid yn ddirgelwch eu crefydd o ddau fath—y dirgelwch bychan a'r dirgelwch mawr; mai ychydig o rai dewisedig a ddygid hyd yn nôd i gyfrinach y dirgelwch bychan, ac mai ychydig o rai dewis-

edig allan o'r rhai dewisedig hyny, a ddygid i gyfrinach y dirgelwch mawr;—ac y dysgwylid i'r cyfryw ymddwyn yn deilwng o'u braint. Hefyd y cynnelid cyfrinach dirgelwch eu crefydd yn y prifleoedd perthynol iddi, un o ba rai oedd Ephesus, y ddinas y llafuriai Timotheus ynddi. Yr oedd yn naturiol fod cryn 'stŵr yn Ephesus ynghylch dirgelwch mawr y grefydd Baganaidd; a bod bri mawr iawn yn cael ei roddi arno. Felly mynai Paul i'r dyn ieuanc Timotheus feddwl fod yn perthyn i grefydd Iesu Grist beth yr oedd yn werth meddwl llawer o hono, a bod y fraint o gael edrych i mewn iddo yn galw am ymddygiad priodol iddi:—yr hyn yw, ei dirgelwch —ei dirgelwch mawr: "Duw a ymddangosodd yn y cnawd."

Cymerir y gair "dirgelwch" yma, gan rai, yn golygu peth a fu yn guddiedig, ond a wnaed yn ddadguddiedig. Bu dyfodiad y Messïah am oesoedd yn hynod o guddiedig o olwg y byd. Ceid ambell drem aneglur arno fel a geir ar yr haul ar y diwrnod cymylog a niwlog. Ond erbyn hyny yr oedd y gwirionedd gogoneddus hwn wedi dyfod yn amlwg, fel yr haul "foregwaith heb gymylau." Ond mewn ystyr arall, mae ymgnawdoliad Mab Duw yn aros yn ddirgelwch i ddynion ac angelion byth; a thynant lawer o'u dedwyddwch o'i gael felly.

Yn lle y gair "ymddangosodd," darllenir gan rai, "Duw a *amlygwyd* yn y cnawd." Defnyddir y gair *ymddangos* weithiau i ddynodi un yn dyfod i'r golwg am ychydig, yna yn cilio: "yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu." Ond nid y fath yna oedd ymddangosiad Mab Duw yn ein natur ni; ond daeth i'r golwg ynddi i aros yn y golwg byth.

Cymerwn y geiriau, nid wrthynt eu hunain, ond yn y cysylltiad y defnyddid hwy yma; sef i ddangos FOD YMGNAWDOLIAD MAB DUW YN GYMHELLIAD MAWR AC EFFEITHIOL I DDUWIOLDEB. Edrychwn arno felly,

I. FEL Y MAE YN DANGOS EIN NATUR WEDI CAEL DERCHAFIAD MAWR.

II. FEL Y MAE YN DWYN I'R GOLWG FFORDD I'N HACHUB.

III. FEL Y MAE ETO I FOD YN GYFRWNG Y FATH AMLYGIAD O'R MAWRHYDI DWYFOL AG A DDENGYS DDUWIOLDEB O'R GWERTH MWYAF.

I. Mae ymgnawdoliad Mab Duw yn gymhelliad i

dduwioldeb, FEL Y MAE YN AMLYGIAD O DDERCHAFIAD MAWR EIN NATUR.

Codwyd natur dyn trwy hyn yn uchel iawn. Codwyd hi i godi awydd ynom am fyned i fyny ar ei hol. Mae un o'r werin weithiau yn medru ymgodi i fysg y pendefigion. Dilynir hyny yn gyffredin gan ymdrech mawr yn ei berthynasau i ymgripio i fyny ar ei ôl. Yn ngwarchaead amddiffynfëydd cedyrn, megys Sebastopol, pan esgyna y milwr cyntaf i uchaf y mur, bydd rhyw yni newydd yn meddiannu ei gydfilwyr yn y gwaelod am ddyfod i fyny ar ei ol. Mae yn hen wirionedd fod eisieu tynu dyn i lawr tuag at ei achub. "Yr annuwiol gan uchder ei ffroen ni chais Dduw." Rhaid cael y pechadur i lawr neu fe'i demnir. Ond y mae gwirionedd cyferbyniol i hwn yn bod. Rhaid ei godi tuag at ei achub. Codi ei feddwl, ei ddymuniadau, ei archwaeth. Ei ddwyn i edrych ar bethau pechod yn rhy isel ganddo—ei ddwyn i feddwl am y cibau a fwytâi y moch yn fwyd rhy wael; a gwasanaeth eu perchen yn waith rhy isel. Rhaid codi dyn yn yr ystyr yma tuag at ei achub. Ond nac edryched y pechadur ar y meddwl am hyny yn beth rhy ddyeithr; a gormod o'r *romantic* ynddo, ac yn anobeithiol i'w sylweddoli; mae dy natur eisoes wedi ei chodi i'r radd uchaf o sancteiddrwydd a gogoniant—i'r undeb agosaf â ffynnon sancteiddrwydd—â Duw y gogoniant.

Mae undeb corff ac ysbryd yn y *dyn* yn fanteisiol i ni i gael golwg ar yr undeb goruchel hwn. Ac y mae y derchafiad mawr a gafodd y corff, trwy ei undeb â'r ysbryd, yn fanteisiol i ni weled derchafiad mawr ein natur trwy ei hundeb â'r Duwdod yn Nghrist Iesu. Ac fe allai mai dyna paham y gwnaed dyn mor "ofnadwy a rhyfedd"—y dygwyd elfenau mor wahanol i'r fath gydweithrediad ynddo,—fel y byddai yn help i grëaduriaid rhesymol am byth i edrych i fewn i undeb mwy goruchel. Am gorff ac enaid dyn cawn bellder mawr *cyn* yr undeb, ac agosrwydd mawr *wedi* yr undeb,—mor fawr fel y mae yn anhawdd penderfynu pa un fwyaf o'r ddau. Y peth isaf, hyd y gwyddom ni, a grëodd Duw yw defnydd neu *matter;* a'r peth uchaf yw ysbryd. Ond pan aed i wneyd corff i'r dyn, nid rhyw bigion—nid y perlau, ond pridd y ddaear a gymerwyd. Ond darfu i'r undeb hwn godi y pridd ymhell uwchlaw y perlau. Bernir fod yr ymadrodd "uchder

llwch y byd," yn cael ei ddefnyddio am gorff dyn, ac yn briodol iawn; ond yn briodol yn unig trwy y mawredd y mae ei undeb âg ysbryd yn roddi arno. Ond y mae yn llenwi yr enw "uchder llwch y byd." Dygwch y perl gwerthfawrocaf, a deliwch ef ar gyfer llygad y plentyn—hyd yn nôd pe byddai yn ei garpiau, y mae ynddo rywbeth sydd yn taflu y perl i'r cysgod. Er mai pridd ydyw, derbynia ryw ogoniant oddiwrth ei undeb âg ysbryd, sydd yn ei wneyd yn "uchder llwch y byd." Felly hefyd codwyd natur dyn i ryw fawredd rhyfedd trwy ei hundeb â'r Duwdod. Dyn, am a wyddom, yw yr isaf o grëaduriaid rhesymol Duw; ond wele natur dyn wedi ei chodi i'r uchder mwyaf yr oedd bosibl codi natur grëedig iddo. A pha faint bynag yw derchafiad y corff trwy rinwedd ei undeb âg ysbryd, y mae y derchafiad hwnw yn llawer llai na derchafiad ein natur ni trwy ei hundeb â'r Duwdod. Oblegid yn uniad y corff a'r ysbryd ni cheir ond dau o rai meidrol wedi eu huno; ond yn undeb ein natur â'r Duwdod, unir y meidrol a'r anfeidrol. Ac megys yn undeb y corff a'r ysbryd, fod yn anhawdd gwybod pa un fwyaf y pellder cyn yr undeb ai yr agosrwydd wedi yr undeb, felly y mae hefyd am yr undeb hwn. Mae y pellder rhwng dyn a Duw yn anamgyffredadwy i grëadur; ond y mae yr agosrwydd rhyngddynt, mewn canlyniad i'r undeb goruchel hwn, yn anamgyffredadwy hefyd. Pan oedd yr Arglwydd Iesu yn y llong gyda'i ddysgyblion ar adeg yr ystorm, dywedir ei fod yn cysgu ar obenydd:—dyna ddynoliaeth wedi ei *lapio* i fyny yn un o'i gwendidau naturiol ei hun. Ond aroswch fynyd, wele y "dyn Crist Iesu" yn cael ei ddeffroi gan ei ddysgyblion yn eu braw: "Cadw ni—darfu am danom." "Yna y cododd Efe, ac a geryddodd y gwyntoedd a'r môr, a bu tawelwch mawr." Mor agos yr undeb rhwng dynoliaeth yn ei gwendid â'r Duwdod yn ei hollalluogrwydd!

Ond a yw y derchafiad rhyfedd hwn, y cawn ein natur wedi ei gyrhaedd, ddim yn gwneyd i ni flysio cyrhaedd i'w chymdeithas, ac i debygolrwydd iddi? Clywed ei bod ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd, yn yr undeb agosaf â'r Mab, yr hwn y mae yr angelion yn ei addoli,—a yw hyny ddim yn codi awydd ynom i gyrhaedd ati? Ac y mae modd i ni ddyfod yn *debyg* i Iesu Grist sydd yn y mawredd hwn. Mae rhyw ogoniant annhraeth-

adwy yn hyn—bod yn debyg iddo. Mae yn wir mai y gŵr ieuanc a welsom yn ymddyrchafu o fysg y cyffredin i fod yn bendefig yw perchen yr etifeddiaeth, a meistr y palas, a'r sefydliad mawreddus perthynol iddo; ond dacw ei berthynasau yna gydag ef, hynod mor debyg ydynt iddo—yn gyfranogion o'r un mawredd, wrth yr un bwrdd, wedi eu gwisgo yn gyffelyb, ac wedi eu dysgu i ymddwyn fel yntau. "Ac ni a wyddom, pan ymddangoso Efe, y byddwn gyffelyb iddo." O! bydded hyn yn wir am danom oll!

II. Daeth Mab Duw i'n natur I GAEL FFORDD I'N HACHUB.

Y mae rhywbeth mawr yn hyny i'n cymhell i gymeryd ein hachub. Mae weithiau ddyn ieuanc o deulu isel yn ymddyrchafu yn uchel iawn; ond wedi cyrhaedd i fyny ei hunan, ni wna y peth lleiaf at gael neb o'i berthynasau i fyny ar ei ol. Dacw y naill o honynt yn gorfod edrych arno yn myned heibio yn ei gerbyd, heb gael gwneyd sylw o hono; ac arall yn dysgwyl yn ofer am dderbyniad i'w balas. Mae yn wir fod enw y teulu wedi ei godi yn uchel ganddo, ond nid yw y teulu ei hunan ddim gwell o hyny. Byddai yn dda gan yr hwn a gododd eu henw mor uchel beidio eu gweled yn agos i'w drigfa, na chlywed chwaith son am danynt. Ond nid felly Iesu Grist. "Y Tad! (meddai,) y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi: fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi."

"Diolch iddo
Byth am gofio llwch y llawr."

Pa fodd na buasai, ynte, os oedd rhyw hoffder mor foreu â'r tragywyddoldeb diddechreu ynddo at natur dyn—pa fodd na buasai yn cymeryd ein natur, wedi ei chael trwy ffordd ryfedd yn berffaith lân, ac ar ol iddo am enyd fwynhâu dedwyddwch penaf y ddaear—pa fodd nad aethai â hi i'r nefoedd, fel yr amcanodd Elias fyned, heb i neb o deulu y ddaear fod yn dystion o'i symudiad, na bod yn well erddo? Gallwn ddychymygu am y cyfryw beth—natur dyn wedi ei chodi, wedi ei sancteiddio, wedi ei gogoneddu, a'r teulu dynol eu hunain ar lawr yn yr iselder, heb un ffordd i'w codi yn bod. Tuag at godi dyn yr

oedd raid cael ffordd i'w godi; tuag at ei achub yr oedd raid cael trefn i'w achub. Yr oedd dyn nid yn unig wedi gadael Duw, ond hefyd wedi gwrthryfela yn ei erbyn; neu yr oedd ei ymadawiad â Duw yn wrthryfel. Dyn yn gadael Duw oedd y deiliad yn gadael ei Frenin. Mae hyny yn wrthryfel—peidio ufuddhâu i'r llywodraeth. Ond yr oedd cam pellach yn ngwrthryfel dyn: ymunodd â gelyn ei Frenin. Rhoddodd gyfraith uniawn ei Frenin dan ei draed, a gwnaeth a allodd i beri i'r gwrthryfel lenwi pob rhan o'i lywodraeth. A llwyddodd i wneyd y ddaear drwyddi yn dalaeth lwyr wrthryfelgar. Y mae cyfiawnder Dwyfol yn myned i'w chosbi, gan mai ei chosbi oedd gyfiawn. Dyna y ddaear yn cael ei melldithio ar ddechreu y gwrthryfel, o achos dyn. Ond cyn i'r felldith ymarllwys—cyn i'r ddeddf esgor—wele Fab Duw yn ymuno â natur dyn, er mwyn myned dan y felldith. Nid oedd modd iddo fyned dani heb wneyd hyny. Yr oedd y Duwdod yn rhy uchel iddi allu ei gyrhaedd, ac yr oedd cyfiawnder yn gofyn am y natur ddynol i'w chosbi. Ar ddyn y cyhoeddasid dedfryd marwolaeth yn y dechreu; ac yr oedd hono, càn belled ag yr oedd a fynai â'r natur a bechasai, yn ddialw yn ôl. Gwnaed llawer cynnygiad, o oes i oes, i ddyhuddo Dwyfol lid; ond yn ofer. Caed fod yn anmhosibl i "waed lloi a geifr, a lludw anner," dynu ymaith bechod. Nid oedd yr aberthau hyny ond yn *adgoffa* pechod bob blwyddyn—*renewio* y *bill*, ac nid talu y ddyled. Yn yr olwg ar ffaeledd yr aberthau hyny, clywn y Mab yn dywedyd, "Aberth ac offrwm nis mynaist, ond corff a gymhwysaist i mi." Dyma aberth! corff—a chorff i mi!

Gwirionedd pwysig iawn i ddyn ddal ei olwg arno, yw ei fod mewn gwrthryfel yn erbyn Duw. Mae hyny yn gwneyd ei sefyllfa isel yn llawer îs. Gall un fod yn dlawd, ac yn isel iawn ei amgylchiadau, ond ar delerau da â chyfraith ei wlad. Gall y cyfryw edrych yn wyneb y barnwr gyda meddwl tawel, a dysgwyl am edrychiad siriol yn ôl. "Gweinidog Duw yw efe iddo er daioni." Ond nid felly y troseddwr. Mae efe mewn dychryn ar ddynesiad y barnwr. Ac o bob troseddwr, y gwrthryfelwr yw y penaf, yn ol penderfyniad unfrydol cyfreithiau pob gwlad. Mae ei drosedd yn cyrhaedd yn ëangach, ac yn taro yn fwy uniongyrchol yn erbyn mawrhydi yr or-

sedd. Dyfod i le y gwrthryfelwr a ddarfu Mab Duw. O! ymddarostyngiad mawr! Os oes dim a ddeil ei gymharu â derchafiad ein natur trwy ei hundeb â'r Duwdod, ymddarostyngiad Mab Duw, wrth ddyfod i ddeddfle y pechadur, yw hyny. Dyma beth annhraethol îs na dyfod yn ddyn: dyfod i le y pechadur—cymeryd ei wneuthur yn "felldith drosom." Myned yn fud am na fuasai gan y pechadur ei hunan ddim i'w ddyweyd—sefyll o flaen Pilat, fel un wedi gwrthwynebu awdurdod Moses a Cesar, am ei fod wedi rhoddi ei hun yn lle *dyn*, yr hwn a wrthwynebodd awdurdod Duw. Yn ol y bardd,—

"Ei brofi gan wael bryfyn,
A barnu Duw ger bron dyn."

Yr oedd meddwl mawr yr Apostol Paul fel wedi ei lenwi, gan yr olwg ar ymddarostyngiad ei Waredwr, yn ei lythyr at y Philippiaid. "Yr Hwn ac Efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw. Eithr Efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion. A'i gael mewn dull fel dyn, Efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu—ïe, angeu y groes. Dyma waelodion yr iselder yr aeth dynoliaeth syrthiedig iddo—marwolaeth felldigedig y groes." Marwolaeth gwrthryfelwr oedd hono. Ond cafodd fodd i wneyd y gwrthryfelwr yn rhydd trwy ddyoddef yn ei le!

Mae tri math o ddyoddef o herwydd pechod: yr anifail yn dyoddef yn aberth—y pechadur yn dyoddef ei hun—a Mab Duw yn dyoddef. Nid oedd dyoddefiadau y cyntaf yn gwneyd dim ond dangos fod dyoddef am bechod i fod. Mae yn nyoddefiadau y pechadur ryw fath o foddlonrwydd i'r gyfraith, yn gymaint a'i fod wrth ddyoddef yn esiampl i ddychrynu eraill rhag pechu; ond y pechadur truan a welir yn dyoddef felly, y mae wedi dechreu ar waith na all byth ddyfod trwyddo: "Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd." Ond, bendigedig fyddo Duw! dyma newydd da i'r pechadur: "Cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno Ef." Ië "cosbedigaeth ein *heddwch*." Nid oes dim fel hyn yn uffern! Mae yno gosbi a dyoddef, ond nid hyd heddwch. Ond ar Galfaria, bu hyny hyd eithaf cynnwys y geiriau; "Cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno Ef." Mae digon o heddwch-

yn yr efengyl. Mae yn cyhoeddi heddwch, heddwch, i bell ac i agos, yn nheilyngdod dyoddefiadau pen Calfaria. Os daw y pechadur hwnw y bydd ei gydwybod lawn o euogrwydd wedi ei thanio gan darawiad mellten o Sinai —os daw *hwnw* at "waed ei groes Ef," caiff deimlo "heddwch tuag at Dduw;" aiff ei gydwybod euog yn dawel. Yr oedd golwg siriol, dawel, o gwmpas foreu y trydydd dydd—y ddaeargryn wedi peidio, y tywyllwch goruwchnaturiol wedi cilio, ac nid yn unig yr haul naturiol wedi codi, ond Haul y cyfiawnder wedi codi i fod yn "oleuni i'r cenedloedd, ac yn iachawdwriaeth hyd eithaf y ddaear." Mae ysgelerder gwrthryfel y pechadur yn colli o'r golwg yn ngogoniant ufudd-dod Mab Duw yn ei natur, wrth fyw a marw. Pa ryfedd iddo ddyweyd, "*Myfi yw y ffordd*"—y ffordd at y Tad? Os bydd ynot ryw betrusder, bechadur, fel yr oedd yn y dysgyblion gynt, pan ddywedent, Pa fodd y gallwn wybod y ffordd? dal y geiriau hyny yn dy feddwl, "*Efe yw yr Iawn!*" Am ei fod yn *iawn*, y mae yn ffordd at y Tad. Ffordd newydd a bywiol yw, wedi ei chysegru trwy waed. Nis gallasai yr archoffeiriad fyned i'r cysegr heb waed. Aeth ein Harchoffeiriad ni at Dduw trwy rinwedd ei waed, ac a gafodd i ninnau dragywyddol ryddhâd.

Y cwestiwn difrifol, fy nghydbechadur, ydyw,—A gymeri di dy achub yn y ffordd hon? A ydyw fod Mab Duw wedi dyfod i dy natur, a rhoddi y fath foddlonrwydd i gyfiawnder Dwyfol, wrth fyw a marw ynddi drosot—a ydyw y cwbl o hyn yn dy adael yn ddideimlad, i barhâu yn wrthryfelwr cyndyn yn erbyn Duw? Gwnaeth Duw hyn oll o gariad atat. "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." A ddiystyri di y bywyd hwnw, ai ynte a gymeri afael arno? A ydyw fod Duw wedi caru y byd mor fawr—caru nes rhoddi ei Fab,—a ydyw hyny ddim yn cyrhaedd dy galon di, ac yn dy dynu dithau i'w garu Ef?

III. Daw Mab Duw yn ein natur ni I'R GOLWG ETO YN Y FATH FAWREDD A GOGONIANT, AG A BYDD WERTH RHYFEDDOL AR DDUWIOLDEB.

Nid mawredd wedi pasio yw mawredd Duw yn y cnawd. Rhoddwyd mawredd rhyfeddol arno, yn enwedig pan fu farw. Bu "raid i'r nef ei dderbyn," a'i dderbyn

mewn bri, a chyda rhwysg digyffelyb. "O byrth, dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch, ddrysau tragywyddol, a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn!" Ond nid dyna y cwbl. Nid rhyw anrhydedd i'w goffadwriaeth unwaith am byth, wrth iddo golli o olwg y byd, yw y cwbl o fawredd Iesu Grist. Anrhydeddwyd Havelock yn fawr iawn gan lywodraeth Brydain, am ei wroldeb yn rhyfel India; ond gyda ei fod wedi cael ei anrhydeddu felly, bu farw, ac ni welir ef mwyach yn yr anrhydedd hwnw. Yn yr adgyfodiad, anrhydedd dyn duwiol fydd ganddo, tebyg i ddynion duwiol eraill. Ond y mae rhan fawr iawn o anrhydedd yr Arglwydd Iesu *eto* i'w roddi arno: adgyfodi y meirw a barnu y byd. Ar rai ystyriaethau, mae rhywbeth mwy yn y mawredd sydd yn aros yr Arglwydd Iesu na'r mawredd a dderbyniodd. Bydd yn fwy cyffredinol. "A wyt ti yn unig yn ymdeithydd yn Jerusalem, ac ni wyddost y pethau hyn?" oedd y cwestiwn a ofynodd y dysgyblion i'r hwn a gymerent yn ŵr dyeithr i hanes marwolaeth ein Gwaredwr. Ond nid Jerusalem yn unig fydd yn hysbys o'i ailddyfodiad: "pob llygad a'i gwêl Ef." Bydd ganddynt fantais i hyny: daw "gyda y cymylau;" "gyda gallu a gogoniant mawr." Clyw pawb ar "sydd yn y beddau ei leferydd; a hwy a ddeuant allan." Daw "gyda myrddiwn o'i saint;" gyda "bloedd a llef yr archangel, ac âg udgorn Duw." Rhoddir heibio bob peth arall tuag at roddi mawredd ar ei ddyfodiad.

Tynodd y Nefoedd y llèn dros wyneb yr haul pan y bu farw; ond y mae yn debyg nad oedd y *blinds* a'r *shutters* ar y ffenestri yn Jerusalem. Ond pan ddaw yr ail waith, bydd y ddaear yn gystal a'r nefoedd yn talu gwarogaeth i fawredd y dyfodiad: "Y defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir." Bydd ganddo awdurdod hefyd i wneuthur "barn, am ei fod yn fab dyn." Ond paham o herwydd ei fod yn fab dyn? Gallai mai y geiriau yn Phil. ii. 9, yw yr ateb priodol: "O herwydd paham, Duw a'i tra dyrchafodd yntau." Pa beth a roddir yn achos o'r derchafiad? Darfod iddo ddisgyn yn gyntaf i barthau isaf y ddaear—bod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes. Ond beth sydd a fyno y mawredd pell hwnw â'r pwysigrwydd o feddu crefydd? Yr ateb yw—duwioldeb fydd yn gwneyd yr

olwg ar y Barnwr mawr yn llawenydd neu yn fraw—yr un olwg ar ei wedd yn ddychryn o'r mwyaf i'r annuwiol, ac yn llawenydd o'r mwyaf i'r duwiol. Nid oes dim ond annuwioldeb a all wneyd yr olwg ar y Barnwr yn ddefnydd braw, na dim ond duwioldeb a all wneyd yr olwg arno yn ddefnydd llawenydd.

Terfynwn gyda galw sylw at ddwy adnod. Byddai hen bregethwyr' yr oes o'r blaen yn arfer rhoddi adnod i rai wrth ymadael, ac nid oes neb a ŵyr faint o ddaioni a wnaethant trwy hyny. Cymerwn ddwy—adnod i'r annuwiol ac adnod i'r duwiol. Pa un ydyw adnod yr annuwiol? a ydyw ef yn sylwi? Gweddi ydyw—gweddi yr annuwiol. Hwyrach fod yr annuwiol sydd yma yn meddwl na all ef ddim gweddïo; mae hyny yn gamsyniad; mae ei weddi yn y Bibl; gweddi hollol ddiragrith hefyd ydyw. 'Hyny yw y rhwystr mawr i mi geisio gweddïo,' medd y pechadur, 'gwn, pe cynnygiwn, mai gweddi ragrithiol fyddai fy ngweddi.' Nid yw dy fod yn annuwiol yn ddigon tuag at i ti fod yn sicr y byddai dy weddi yn rhagrithiol, pe cynnygit weddïo. Nid oes dim rhagrith yn y weddi hon o eiddo yr annuwiol. "Ac a ddywedant wrth y mynyddoedd a'r creigiau, Syrthiwch arnom, a chuddiwch ni o wydd yr Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac oddiwrth lid yr Oen!" Dyna a wna y llid mor annyoddefol—llid yr Oen ydyw—llid Duw yn y cnawd! Mae gan y llid Dwyfol ffordd nês, fwy uniongyrchol, i ymarllwys ar yr annuwiol, trwy ddyfod arno oddiwrth un yn ei natur. Ychydig flynyddau yn ôl, ymwelwyd â rhai parthau o Ogledd Cymru âg ystorm ddychrynllyd o fellt a tharanau. Mewn un gymydogaeth yn Arfon, lladdwyd dyn yn un cŵr, ac anifeiliaid mewn cŵr arall. Drannoeth sylwai y dynion wrth eu gilydd, "Rhyfedd mor arswydus oedd y mellt—yr oeddynt mor *agos*." Mae gan ddigofaint Duw yn Nghrist fodd i ddyfod yn agos iawn at yr annuwiol—llid yr Oen! Fel Oen Duw, yn tynu ymaith bechodau y byd, y clywodd am dano yn y pregethau yn Nghymru; a bydd yn gorfod gweled mai yr Iesu hwnw a ddirmygodd yn ngalwad yr efengyl fydd yn berchen llid y diwrnod mawr ac ofnadwy hwnw. O! bechadur, ffo rhag y llid a fydd! Llid a *fydd* ydyw heddyw, ond *daeth* dydd mawr ei ddigter Ef fydd y cri y pryd hyny; "a phwy a ddichon sefyll?"

Yr adnod arall yw adnod y dyn duwiol. Dyma hi: "Wele, dyma ein Duw ni; gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw: dyma yr Arglwydd; gobeithiasom ynddo, gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth Ef." Adeg anhawdd sefydlu y llygaid arno yn nghanol y cynhwrf mawr. Dacw fynydd yn neidio i'r ëangder heibio yr edrychydd ar un fynyd, a seren yn gwibio o'i chylch y mynyd nesaf. Clywir y môr a'i dònau yn rhuo gyda rhyw dwrf digyffelyb, a'r hen fynwent fu mor ddystaw yn y gymydogaeth trwy y blynyddoedd a'r oesoedd yn ymrwygo, a'i phreswylwyr ar eu traed yn "llu mawr iawn," wedi ymwisgo mewn bywyd newydd. Ond y mae gweled ei Dduw—ei Brynwr—ar y cwmwl yn tynu ei sylw oddiar bob peth. Mae hen hanesiaeth yn dyweyd i ni fod tywysog un o'r taleithiau wedi gwrthryfela yn erbyn Cyrus, ymherawdwr Persia. Wedi i Cyrus orchfygu y gwrthryfelwyr, a chymeryd y tywysog a'i briod yn garcharorion rhyfel, dygwyd hwy ger bron i fath o brawf. Gofynai Cyrus i'r tywysog, pa beth a roddai am ryddhâd ei wraig? "Mil o fywydau, pe meddwn hwy," oedd yr ateb. Bu yr ymherawdwr mor dirion a'u gollwng yn rhydd. Nid oedd neb na dim yn cael sylw yn y canlyniad ond yr ymherawdwr—fel rhyfelwr a gorchfygwr mawr a galluog, ac yn enwedig fel un tyner at y gorchfygedig. Soniai pawb am y pethau hyny wrth eu gilydd. Ond yr oedd priod y tywysog a ollyngesid yn rhydd yn fud. O'r diwedd gofynodd y tywysog, ei gŵr, iddi pa beth oedd hi yn feddwl o fawredd Cyrus? Ei hateb oedd, "Ni chefais i ddim hamdden i sylwi, gan fod fy mryd wedi rhedeg yn llwyr ar yr hwn a ddywedai y buasai yn rhoddi mil o fywydau i achub fy mywyd i." Felly ni fydd yr amlygiad hwnw o fawredd a welir yn ymddattodiad y grëadigaeth yn rhwystro i'r credadyn gadw ei olwg ar ei Waredwr, a gorfoleddu a llawenychu yn ei iachawdwriaeth Ef. Bydd undeb ffydd â Iesu Grist yn dal pan fydd undeb cadarn gwahanol ranau y grëadigaeth yn methu dal. Cofiwn nad yw yn ddigon er ein hiachawdwriaeth i Fab Duw ymuno â'n natur, heb i ni yn bersonol gael undeb ffydd âg ef; ac ond cael yr undeb hwnw, nid oes na phethau presennol na phethau i ddyfod a ddichon ein gwahanu!

# PREGETH IX.

## GWEINI I'R SAINT.

### GAN Y PARCH. WILLIAM PRYTHERCH, SIR GAERFYRDDIN.

"Canys nid yw Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith, a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tuag at ei enw Ef, y rhai a weiniasoch i'r saint, ac ydych yn gweini."—HEBREAID vi. 10.

ANNOG yr Hebrëaid i lynu yn ngwaith yr Arglwydd y mae yr Apostol yn y bennod hon. Rhoddir yma annogaethau difrifol a phwysig i lynu yn ngwasanaeth yr Arglwydd hyd y diwedd, er pob rhwystrau. Mae y testun yn dod i mewn yn rheswm dros hyny; a dyna yw y rheswm sydd ynddo dros lynu yn ngwasanaeth yr Arglwydd, nad oedd y Duw a wasanaethent yn anghyfiawn: "Canys nid yw Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith, a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tuag at ei enw Ef." Mae i chwi bob cysur a chalondid i wneuthur unrhyw beth a alloch gyda gwasanaeth yr Arglwydd, canys nid yw yn anghyfiawn, nid anghofia eich gwaith. Mae yn dygwydd fel arall yn fynych ymysg dynion; gwnewch a alloch chwi o wasanaeth i ambell ddyn, ni chofia efe byth am a wnaethoch wed'yn. Mae yn ddigalon iawn meddwl parhâu yn hir yn ngwasanaeth un fel yna. Ond nid un felly yw y Duw yr ydych chwi yn ei wasanaeth: "Nid yw yn anghyfiawn." Wna Efe ddim anghofio eich gwaith. Gan hyny gweithiwch, a gweithiwch eich goreu, tra byddoch byw, yn ngwasanaeth yr Arglwydd, wnewch chwi ddim mwy nag a all Efe gofio yn hawdd iawn; ac fe fŷn wobrwyo pob rhyw lafurus gariad a ddangosir tuag at ei enw Ef.

Y llwybr a nodir, trwy ba un yr oedd y bobl hyn yn dangos llafurus gariad at enw yr Arglwydd, oedd trwy weini i'r saint. Yr oedd rhinweddau heblaw hyn yn yr Hebrëaid, ond dyma yr un a nodir yma: "Y rhai a weiniasoch i'r saint, ac ydych yn gweini."

Sylwir yn

I. FOD GAN YR ARGLWYDD SAINT, YN EIN BYD NI, YN CYFARFOD A GORTHRYMDERAU, AC YN MYNED TRWY AMGYLCHIADAU CYFYNG A GWASGEDIG, FEL Y MAE ANGHEN I RYWRAI WEINI IDDYNT. Yr oedd yn rhaid fod rhai o'r saint mewn anghen yn y dyddiau yr ysgrifenwyd yr epistol hwn, onidê chawsai yr Hebrëaid mo'r fantais o weini iddynt; felly mae gan yr Arglwydd ei saint yn ein dyddiau ninnau yn myned trwy amgylchiadau cyfyng a gwasgedig, fel y mae anghen gweini iddynt.

II. Y DYLAI ERAILL O'R SAINT, AG A FYDDO A CHYFLEUSDERAU GANDDYNT, WEINI I'R SAINT GORTHRYMEDIG. Crefyddwyr o'r *stamp* hon oedd yr Hebrëaid: "Y rhai a weiniasoch i'r saint, ac ydych yn gweini." Yr ydych yn parhâu i weini, heb ddiflasu ar hyny hyd yn awr.

III. NAD ANGHOFIA DUW BYTH IDDYNT WNEUTHUR HYNY: "Nid yw Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith." Mae yn cofio yn serchog y gwaith wneir o gariad tuag ato.

I. FOD GAN YR ARGLWYDD SAINT, YN Y BYD HWN, YN CYFARFOD AG AMGYLCHIADAU GWASGEDIG, AC YN MYNED TRWY GYFYNGDERAU, FEL Y MAE GWIR ANGHEN I RYWRAI WEINI IDDYNT.

Darllenasoch yn y Bibl am rai felly; chwi welsoch, ond odid, yn eich ardal, bobl y gwyddoch o'r goreu eu bod yn ofni Duw yn y tywydd garwaf, ac yn nghanol y profedigaethau llymaf. Mae hyny yn rhyfedd hefyd, pan ystyriom mai plant Duw ydynt. Mae yn wir, wrth i ni ystyried eu haeddiant, nad yw yn rhyfedd gweled y *shape* sydd arnynt, ac nid ydynt yn gweled hyny yn beth dyeithr eu hunain; ond o'r ochr arall, pan gofiom plant pwy ydynt, mae yn beth syn eu bod mor drallodus eu cyflwr yn aml. Un mawr iawn yw Tad y dyn duwiol. Y dyn duwiol yna sydd mewn eisieu ar adegau, ei Dad biau yr aur a'r arian i gyd. Mae yn rhoddi eu benthyg yn garedig i'w grëaduriaid. Tad y dyn duwiol yw. Tad y gŵr duwiol yna sydd mewn gorthrymderau mawrion, a thlodi dwfn, biau yr "anifeiliaid ar fil o fynyddoedd." Ei Dad ef biau'r mynyddoedd y maent yn pori arnynt, ac nid oes arno *rent* i neb am danynt. Paham y mae neb o blant Un mor anfeidrol fawr yn cyfarfod âg ystormydd mor drymion? Nid oes

un o honynt yn cyfarfod âg ystormydd am nad allai eu Tad eu gwaredu o honynt, pe b'ai yn ewyllysio hyny.

Mae yn goddef i'w blant gael eu herlid weithiau, er mwyn eu dwyn i ymddiried mwy ynddo. Pan y bydd y ci yn rhedeg ar ol yr wningen fach, bydd hithau yn rhedeg am loches i'r graig; a thra y bydd yn y graig, ni all holl gŵn y gymydogaeth ddwyn ei bywyd oddiarni. Byddai yn rhaid iddynt fyned trwy y cèryg cyn y gallent ei chyrhaedd. Felly tithau, Gristion gwan! er cael dy erlid lawer diwrnod gan y cŵn, rhed i'r Graig. Os yn y Graig, bydd dy fywyd yn ddiogel. Bydd Hollalluogrwydd rhyngot a'r gwaetha'. "Tŵr cadarn yw enw yr Arglwydd; ato y rhed y cyfiawn, ac y mae yn ddiogel."

Mae llawer o blant dynion mewn caledi, ac nis gall eu rhieni eu helpu; ond nid felly gyda phlant Duw—nid oes un anhawsder iddo Ef symud ei blant o ryw gyfyngder, a'u dyrchafu o sefyllfa o iselder i sefyllfa o ddyrchafiad. Fe wnaeth felly i un o'i blant oedd yn fugail defaid; fe'i dyrchafodd i'r orsedd i deyrnasu.

1. *Yn y fan lle yr wyt ti, ddyn duwiol, y mae dy Dad nefol yn barnu yn oreu dy fod;* waith pe bai yn tybied fod rhyw le arall yn well i ti, fe fyddai yn bur hawdd iddo dy symud o'r fan yna. Mae yn dy garu mor fawr, fel na oddef i ti fod ond yn y fan goreu er dy les. 'Paham y mae tlodi a gorthrymder yn well i mi na thipyn o gyfoeth, hawddfyd, a chysur?' Maent yn sicr o fod, onidê cheit ti mo honynt o'r Llaw yr wyt yn eu cael, a thi gei weled ryw ddydd fod hyd yn nôd tywydd garw yn "cydweithio er daioni" i ti.

2. *Mae yn gadael i'w blant gyfarfod â thywydd blin, er mwyn i'w cymydogion gael cyfleusdra i ddangos a oes cariad ynddynt at eu Tad ai peidio.* Pan ddelom i garu yr Hwn a genedlodd, ni a fyddwn yn sicr o fod yn bur *goncernol* o'r hyn a genedlwyd o hono. Pan mae y plant mewn profedigaethau, dyma le i eraill ddangos eu cariad tuag at eu Tad trwy weini iddynt.

Gair o addysg: yn

1af. Peidiwn a bod yn galed tuag at ddynion mewn gwasgfeuon, rhag y dygwydd fod rhai o'r plant yn eu mysg. Ië yn wir, ddylem ni ddim bod yn galed wrth ddyn mewn gwasgfa a chaledi, pe byddem yn gwybod ei fod yn

annuwiol, gan ei fod yn perthyn yn rhy agos i ni o lawer. Mae yn grëadur Duw ymha ystâd bynag y mae ynddi.

2il. Peidiwn a ffurfio ein barnau am gyflyrau dynion yn wyneb fod tywydd garw yn dod i'w cyfarfod. Pan fo dyn mewn amgylchiadau cysurus, a phwt o grefydd ganddo hefyd, yr ydym yn bur debyg o wneyd sant o hono; ond pe dygwyddai iddo fyned yn dlawd, 'does nemawr o ymddiried na wthiem ef yn ôl i'r cyflwr y ganwyd ef ynddo. Mae rhai dynion call wedi camgymeryd yn fawr yn y fan yma. Felly cyfeillion Job. Pan yn ŵr cyfoethog, yr oeddynt gyda'r rhwyddineb mwyaf yn barod i addef mai dyn duwiol ydoedd; ond fe welodd ei Dad nefol yn dda ymddwyn yn lled ddyeithr tuag at y plentyn hwnw. Fe aeth â phethau y byd oddiarno; dacw fo o'i balas ar y domen, a dim ganddo ond cragen i ymgrafu â hi. Ewch i ofyn barn ei gyfeillion am dano yn awr. Rhagrithiwr yw, meddant. Gwyliwn yn y fan yma, rhag ofn i ni wneuthur cam â rhai o blant Duw.

II. FOD ERAILL O'R SAINT AG A FYDDO MEWN AMGYLCHIADAU CYSURUS, (os byddant yn eu lle,) BOB AMSER YN GWEINI I'R SAINT GORTHRYMEDIG. Rhai fel yna oedd yr Hebrëaid hyn.

Gwelwn dynerwch y Brenin mawr tuag at ei blant yn anialwch y byd yma; nid yw byth yn goddef i'r un ystorm chwythu arnynt oll ar unwaith. "Wele y cythraul," meddai Crist wrth eglwys Smyrna, "a fwrw *rai* o honoch i garchar." A fyddant hwy i gyd yno ar unwaith? Na, "*rhai.*" Os bydd un neu ddau yn glaf ryw ddiwrnod, welsoch chwi adeg erioed na byddai yn y gymydogaeth ugain yn iach i fyned i roi tro am danynt. Pan fo rhai yn glaf fe fydd eraill yn iach, ac mae y rhai sydd yn iach yn hynod o ofalus am eu brodyr cleifion. Os bydd rhyw sant heb damaid yn y tŷ, mae un arall â thorth ganddo i'w hebgor. Os bydd Pedr yn y carchar fe fydd ei frodyr yn rhydd. Hwy ddiolchant am hyny, hwyrach, ac fe gysgant yn braf. Na: soniant hwy ddim am roddi eu penau ar obenydd nes cael y carcharor o'r carchar. Beth yw yr achos fod rhywbeth fel yna i'w weled ymysg crefyddwyr? Ai oblegid eu bod yn perthyn i'r un sect a'u gilydd y maent yn ymddwyn fel yna? Nage, nid perthynas sect yn unig yw yr achos, maent yn gweini i bobl o sectau eraill hefyd. Beth ynte all fod yn peri y cydymdeimlad hwn?

1. *Maent yn perthyn yn agos iawn i'w gilydd.* Pa mor agos? Maent yn perthyn mor agos a'u bod yn frodyr a chwiorydd yn yr Arglwydd. Pwy ryfedd, ynte, eu bod mor ofalus am eu gilydd? Peth cryf iawn yw perthynas; ac yn wyneb cyfyngder, gwasgfa, a thlodi, y mae yn dangos yn iawn pa beth yw.

2. *Maent yn caru yr un Duw.* Weithiau maent yn *dis-putio* am bethau llai, ond maent oll yn cyduno i garu yr un Duw.

3. *Maent yn meddwl byw byth gyda'u gilydd.* Pwy ryfedd eu bod yn *tendio* tipyn ar eu gilydd trwy *bassage* y byd hwn, o herwydd maent yn penderfynu bod yn gymydogion byth yn y byd nesaf.

III. NID ANGHOFIA DUW BYTH MO'U HYMDDYGIADAU TUAG AT EU GILYDD.

1. *Anghofia Duw byth* PWY *wnaeth rywbeth o gariad tuag at ei enw Ef.*

2. *Anghofia ddim ychwaith* PA BETH *a wnaed o gariad tuag at ei enw Ef.*

3. *Anghofia Efe ddim ychwaith* PA FAINT *a wnaeth pob un.*

4. *Nid anghofia ychwaith* I BWY *y gwnaed y gymwynas.*

Fe fydd eich gwneyd chwi yn *fresh* byth yn nghof Duw, ac fe gyhoeddir hyny ar g'oedd y grëadigaeth ddydd y farn ddiweddaf. Diwrnod pwysig, prysur iawn, fydd y diwrnod hwnw; fe fydd yr holl *gontrol* i gyd yn llaw ein Harglwydd Iesu Grist; ac yn nghanol ymdrin â'r holl *fus'ness*, fe ddywed wrth ei blant, "Mi a fum newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd." Iesu mawr! paham yr wyt yn sôn am hyny heddyw? Os buost ti unwaith yn newynog, tlawd, a dirmygedig, mae y ddaear heddyw yn dadgymalu yn yr olwg ar dy fawredd, a dynion drygionus y byd yn crynu. 'Na; nis gallaf yn nghanol fy holl rwysg anghofio yr hyn a wnaethoch chwi pan oeddwn mewn iselder a than wawd.' "Bum newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd; bum sychedig, a chwi a roisoch i mi ddiod; bum glaf, a chwi a ddaethoch ataf." 'Doedd ganddynt nemawr o ffordd i ddyfod i'th weled. ''Dyw hyny ddim gwahaniaeth, chwi a ddaethoch i'm gweled.' "Bum yn ngharchar, a chwi a ddaethoch ataf; yn ddyeithr, a chwi a'm dygasoch adref gyda chwi." "Pa bryd," meddant hwythau, "y'th welsom yn newynog?" Nid ydym yn

cofio, Arglwydd mawr! ''Dyw ddim yn *odds* i chwi gofio.' Nid ydynt yn cofio am a wnaethant, eisieu *job* arall sydd arnynt. Wrth weithio, maent yn cael blas ar weithio. "Pa bryd y'th welsom?" 'O! 'dyw *odds* yn y byd,' meddai Crist; 'chwi a'i gwnaethoch i'r rhai bychain hyn, ac mi edrychais ar hyny fel pe buasech yn ei wneuthur i mi.'

Dyna ddywed y Bibl am weithredoedd y saint,—"Eu gweithredoedd sydd yn eu canlyn." Pa le mae eu gweithredoedd? Yn eu canlyn. ''Dwyf fi ddim yn eu clywed yn sôn un gair am danynt,' meddai rhywun. Gwir. Ond os oes llygad yn dy ben, ti elli eu gweled. O'u hôl y maent. Maent mewn man anghyfleus i bwyso arnynt; "yn eu canlyn" y maent. Hawdd i ni ddeall nad ydynt yn ceisio myned i'r nefoedd *am* eu gweithredoedd, waith maent o'r tu ôl iddynt. Ar ba beth y maent yn pwyso? Ar Graig yr oesoedd. Beth yw eu sail am dderbyniad i ogoniant? Yr Aberth a'r Iawn, a rhyw *bac* o weithredoedd da yn eu canlyn, fel na bo achos eu *disputio*. Amen.

# PREGETH X.

## IESU GRIST YN CYMHELL YMOFYNIAD, AC YN BODDLONI YR YMOFYNYDD.

## GAN Y PARCH. ROBERT WILLIAMS, ABERDYFI.

"Yna yr Iesu a droes; a phan welodd hwynt yn canlyn, Efe a ddywedodd wrthynt, Beth yr ydych chwi yn ei geisio? A hwy a ddywedasant wrtho Ef, Rabbi (yr hyn o'i gyfieithu yw, Athraw), pa le yr wyt ti yn trigo? Efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch a gwelwch. A hwy a ddaethant, ac a welsant lle yr oedd Efe yn trigo, ac a arosasant gydag Ef y diwrnod hwnw: ac yr oedd hi ynghylch y ddegfed awr."—IOAN i. 38, 39.

WEDI i Ioan Fedyddiwr gael pob boddlonrwydd mai yr Iesu oedd y Messïah—wedi gweled yr Ysbryd yn disgyn megys colomen o'r nef, ac yn aros arno ef,—y mae yn y fan yn cyfeirio ei ddysgyblion a'i wrandäwyr oll ato, fel "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd," ac yn bedyddio â'r Ysbryd Glân. A chan iddo weled, mae yn tystiolaethu mai hwn yw Mab Duw. Y mae yna ddau ddyn ieuanc ymhlith dysgyblion Ioan yn penderfynu—yn cydbenderfynu—myned at yr Iesu eu hunain, a mynu prawf eu hunain ar wirionedd tystiolaeth eu hathraw: dau yn clywed gan Ioan, ac yn canlyn yr Iesu. Mae yn ymddangos nad oedd yna yr un oediad rhwng y clywed a'r canlyn.

"Andreas, brawd Simon Pedr, oedd un o'r ddau a glywsent hyny gan Ioan, ac a'i dilynasent Ef." Y farn gyffredin yw mai Ioan yr Apostol oedd y llall. Yr oedd Ioan mor ddoeth, ac mor rasol, fel y byddai yn arfer aros ei hun yn y cysgod. Nid yn unig rhoddai ei Arglwydd yn y *front*—yn yr amlwg, ond rhoddai ei frodyr o'i flaen ef ei hun yn wastad. Y mae yn dyweyd wrthym fod Pedr a'r dysgybl arall yn ymryson y dydd cyntaf hwnw o'r wythnos, gan frysio at y bedd newydd. Dywed wrthym mai y dysgybl arall oedd y goreu am redeg, ac iddo ddyfod

yn gyntaf at y bedd, ond mai Pedr oedd yn meddu y gwroldeb i fyned i mewn i'r bedd, pan yr oedd myrdd o deimladau pryderus, ofnus, a gobeithiol, yn cynhyrfu eu hysbryd. Felly yma. Andreas oedd un o'r ddau. Am y llall, nid oes eisieu son am dano, ond *fod* yno un arall a gafodd ddyfod gydag Andreas at yr Iesu. Ni a gawn y ddau ŵr ieuanc yn cerdded yn wylaidd o'r tu ôl i'r Athraw bendigedig. "Yna yr Iesu a droes." Ni a allem feddwl i'w lygaid ef syrthio ar eu llygaid hwy y pryd hwn, a'u bod yn dechreu teimlo na welsant y fath gariad yn edrychiad neb erioed o'r blaen. "Beth yr ydych chwi yn ei geisio?" Y mae ei edrychiad tyner, a'i gwestiwn cymhelliadol, yn eu calonogi mor fawr, fel y maent yn teimlo holl gwestiynau dyfnion eu henaid yn dyfod i'r wyneb, ac y maent yn penderfynu gofyn iddo am gyfle i agor eu mynwes, a dyweyd eu helynt oll wrtho. "Athraw, pa le yr wyt ti yn trigo?" Nid ydym heb le i feddwl fod Iesu Grist, o'r tu arall, yn edrych ar y ddau ymofynydd hyn gyda boddhâd mawr—y ddau gyntaf a edrychodd i fyny at Dduw yn y cnawd fel eu hathraw a'u blaenor. Gwelai ynddynt wystlon o fyrdd a myrdd myrddiwn a eisteddent wrth ei draed, gan dderbyn o'i eiriau. "Efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch a gwelwch. A hwy a aethant, ac a welsant lle yr oedd Efe yn trigo, ac a arosasant gydag Ef y diwrnod hwnw." Mor bwysig, mor foddhäol, mor hyfryd, oedd yr ymddyddan a fu rhyngddynt ar y pryd hwn, fel yr oedd ei holl fanylion wedi eu sefydlu yn nghof a chalon Ioan hyd ddiwedd ei oes, ac yn ddiammheu hyd byth. Yn niwedd ei oes yr ysgrifenodd ei Efengyl; ac yr oedd yr adeg—ie yr awr—yn gwbl gofus iddo: "Ac yr oedd hi ynghylch y ddegfed awr." Adeg ryfedd yw yr adeg y mae pechadur yn dechreu tywallt cwestiynau trymion ei fynwes euog i glustiau Gwaredwr, a'r pryd y mae yn dechreu teimlo y gall ei Waredwr ateb y naill gwestiwn ar ol y llall i foddlonrwydd ei galon. Ni a gawn ganfod draw ryw lu gogoneddus o bethau tragywyddol wedi eu geni o oriau amser. "Ar hanner dydd, O frenin!" mi gofiaf byth y tro! "Ac yr oedd hi ynghylch y ddegfed awr."

Y gwirionedd a ddymunem ei ddysgu oddiwrth y testun hwn yw, FOD IESU GRIST YN CYMHELL YMOFYNIAD, AC YN CARU BODDLONI YR YMOFYNYDD.

bron a chael eu llwyr wella eu hunain, "y dichon Efe yn gwbl iachâu y rhai sydd yn dyfod at Dduw trwyddo Ef, am ei fod yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy."

Drachefn, meddai mynwes bryderus y pechadur, mae amgylchiadau difrifol iawn o'm blaen, a chyfnewidiadau pwysig gerllaw. Mae profedigaethau y bywyd bron yn ormod i mi eu dal lawer diwrnod. Mae angeu gerllaw, a myned i fyd arall, dyeithr a thragywyddol, yn fy aros. "Nac ofna, cred yn unig." Dyna ddigon. "Yr hwn sydd yn dyfod ataf fi, ni newyna; a'r hwn sydd yn credu ynof fi, ni sycheda un amser." Y mae y rhai sydd wedi dyfod i gydnabyddiaeth agos âg Ef, ac ymddiried llawn ynddo, yn ymhyfhâu pan y maent yn teimlo daeargryn ymhob man arall. "Ië, y mae yn ddiammheu genyf ei fod Ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato, erbyn y dydd hwnw." Bellach, medd yr enaid, yr wyf yn foddlawn; mi welaf ei fod Ef yn bob peth i gyfarfod â'm holl anghen. Mae Ef yn gymhwys i mi.

"Sancteiddrwydd im' yw 'r Oen di-nam,
'Nghyfiawnder a'm doethineb,
Fy mhrynedigaeth o bob pla,
Fy Nuw i dragwyddoldeb!"

2. Myfi anturiaf ar ei ol ef i fod yn ddysgybl iddo; *ond beth sydd raid i mi ei adael er ei ddilyn yn iawn?* Mae yn dda gan Iesu Grist dy glywed yn gofyn hyn hefyd iddo, ac Efe a rydd i ti bob boddlonrwydd.

(1.) *Rhaid i'w ganlynwyr Ef adael pob bai, pob pechod, a phob pechod yn llwyr.* Darllen y bregeth ar y mynydd. Rhaid i frigau y pren gwenwynig gael eu tori. Mwy: rhaid tori y pren i lawr. A mwy eto: rhaid tynu ei wreiddiau allan o'n natur. "Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt, Na ladd; a phwy bynag a laddo, euog fydd o farn: eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, Pob un a ddigio wrth ei frawd heb ystyr, a fydd euog o farn." Dywed Ef wrth bob un ag sydd yn enwi ei enw Ef am ymadael âg anghyfiawnder, a chroeshoelio y cnawd, ïe marw i bechod; a dywed hefyd am ddodi heibio y pechod sydd barod i'w hamgylchu. Gorchymyna nad arbedont unrhyw fai; ac os mynant arbed un bai, na ddeuant byth i'w gyfrinach Ef. Dywed ymlaen llaw, os myn neb wisgo dillad ei grefydd Ef, a byw mewn pechod, y tynir pob cochl oddi-

am danynt, ac y dynoethir eu cymeriad drygionus a thwyllodrus yn y dydd a ddaw. "Ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr anwiredd." Wel, medd yr ymofynydd, da y dywed Efe bob peth; y mae ei gaseion ef yn gas genyf finnau; a'm hymdrech a'm gweddi bellach fydd am weled y boreu "pan ddarfyddo pechu yn lân!"

A oes eto rywbeth i'w gadael i fyned ar ei ol yn gyflawn?

(2.) *Y mae pethau cyfreithlawn i'w mwynhâu, os yn rhwystr i'r enaid fyned yn llwyr ar ol Iesu Grist, y maent oll i'w gadael.* Nid ydym am gael neb yn gyfranog â Iesu Grist fel aberth drosom; felly nid oes neb i fod yn gyfranog âg Ef fel Arglwydd arnom. "Efe yw yr Iawn," heb ddim arall. Felly yn hollol y mae i fod yn Frenin ar ein calon. Os bydd rhywbeth presennol a daearol yn ein rhwystro i roddi ufudd-dod llawn i Iesu Grist, y mae i'w adael neu ei fwrw ymaith, pe byddai fraich neu lygad dê. Pan gydgerddodd llawer â Iesu Grist ar ol y bregeth hyfryd am y swper mawr, rhag i neb gychwyn ar ei ôl heb fwrw y draul, y mae yntau yn troi atynt, ac yn dywedyd wrthynt, "Os daw neb ataf fi, ac ni chasäo ei dad, a'i fam, a'i wraig, a'i blant, a'i frodyr, a'i chwiorydd, ïe a'i einioes ei hun, ni all efe fod yn ddysgybl i mi." Yn dy nerth mi a adawaf bob peth; nac erfyn arnaf ymadael â thi. "Genyt ti y mae geiriau y bywyd tragywyddol!" Dyna deimlad yr ymofynydd difrifol.

3. *A oes dyoddef o herwydd ei ddilyn?* Da gan Fab Duw yw dy glywed yn gofyn hyn hefyd; ac y mae yn dy ateb yn ffyddlawn, fel na'th siomer di ynddo. Y fath yw ystâd y byd hwn, a gallu y diafol ynddo, fel y mae cryn lawer o ddyoddef i bob gwir ddysgybl i'r Gwaredwr mawr. Mae y llwybr i'r deyrnas wedi ei drefnu drwy lawer o orthrymderau. Y mae teyrnas yn y pen draw, ond y mae ar y ffordd ddyoddefiadau na ddeil neb hwy ond yn nerth Crist ei hun. "Diau yr yfwch o'm cwpan, ac y'ch bedyddir â'r bedydd y'm bedyddir innau âg ef." "A phwy bynag ni ddyco ei groes, a dyfod ar fy ol i, ni all efe fod yn ddysgybl i mi." "Nid oes i ni Archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni; eithr wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau." Efe a gafodd ei demtio ymhob peth, ond "yr *un ffunud a ninnau*" y bu hyny. Rhaid i'w ddysgybl fod yn barod i farw er ei

fwyn Ef: "dwyn y groes." Y mae hyny yn cynnwys llu o ddyoddefiadau blaenorol—cyhuddo ar gam, gwatwar, poeri yn yr wyneb, dyoddef y dyrfa i waeddi, "Ymaith âg ef, croeshoelier ef." Oni ddigalona yr ymofynydd, gan roddi pob meddwl i fyny? Na, nid felly. Mae Sodoma ar dân; nid oes ond marw yn unig yno, a marw byth. Nid yw marw dros yr Iesu yn haeddu ei gyffelybu am foment iddo. "Nid wyf fi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun."

Y mae eto un ymofyniad—

4. *Wedi y gadael a'r dyoddef, os anturiaf ar ei ol Ef, beth fydd yr ennill?* A fydd yr ennill yn fwy na'r golled? Gofynodd un o'i ganlynwyr boreuaf hyn, mewn ffurf debyg, "Wele ni a adawsom bob peth, ac a'th ganlynasom di, beth gan hyny a fydd i ni?" Mae yr Arglwydd Iesu yn ateb gyda llawenydd, "Yn wir, meddaf i chwi, y cewch chwi y rhai a'm canlynasoch yn yr adenedigaeth, eistedd ar ddeuddeg gorsedd yn barnu deuddeg llwyth Israel." A rhag i neb feddwl mai braint neu goron yr Apostolion yn unig oedd hyn, efe a chwanega, "A phob un ar a adawodd dai, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, er mwyn fy enw i, a dderbyn y can' cymaint; ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Mae yn y byd hwn y can' cymaint: tangnefedd yn llonyddu holl 'stormydd yr ysbryd—ei dangnefedd Ef—y tangnefedd a'i cadwodd mewn tawelwch yn y 'storom fwya' erioed; y meddwl dedwydd fod pob peth yn cydweithio er ei ddaioni; a'r meddwl gorfoleddus y bydd ei Waredwr rhyngddo a phob niwed; ac er iddo farw y caiff fyw, a byw yn well. O herwydd marw, byw yn y wlad lle nas gallant farw mwy. Dyma ennill yn werth ei geisio! Mae ambell golled mor fawr, fel y mae yn troi pob ennill yn golled. Fe fu un mor egnïol yn ennill cyfoeth, fel y collodd ei iechyd—fe allai ei fywyd—yn yr ymdrech. Yr oedd y golled mor fawr, fel yr oedd yr ennill yn golled. Ond am wobr crefydd, y mae mor felus, mor fawr, fel y mae yn troi pob colled yn elw. Wedi dod fel hyn i gymundeb â Iesu Grist, y mae yr enaid yn addoli wrth edrych ar ogoniant ei Berson anfeidrol Ef; yn rhyfeddu wrth edrych ar ei ddarostyngiad a'i angeu. Y mae yn teimlo nerth, bywyd, a melusder y nefoedd yn ei eiriau. Y mae y byd yn colli ei ddylanwad

arno, cnawd a'i flysiau yn tewi, a chadwynau y diafol yn ymddattod. Yr un pryd y mae yr enaid yn dechreu yr ymdrech hyfryd o garu ac ymdebygoli iddo!

Gair neu ddau ar y sylw olaf—

II. PAHAM Y MAE YR ARGLWYDD IESU YN CYMHELL EI DDYSGYBLION I WNEYD YMOFYNIAD? ac i beidio cychwyn ar ei ol, nac aros gydag ef, ar antur, nac yn ddifeddwl; ond ar iddynt oll agor eu llygaid, ar bethau yn ôl ac ymlaen, ar ddê ac ar aswy, a bwrw y draul? Y mae ynddo bob peth i ennill y meddwl; ond ei ennill y mae, ac nid ei hudo.

Y mae Efe, gan hyny, yn cymhell ymofyniad o herwydd y pethau canlynol:—

1. *Fel na siomer neb ynddo.* Y mae ein Harglwydd bendigedig yn teimlo gofal calon na byddo i neb gael ei siomi ynddo Ef. Y mae yn tosturio wrth bechadur fel un wedi ei siomi mewn myrdd o wrthddrychau; wedi bod yn cloddio llawer pydew, ond oll yn tori heb ddal dwfr. Y mae yn raslawn yn ei alw o wlad y siomedigaethau, gan ddiogelu na siomir ef byth ynddo Ef. Canys "ni chywilyddir neb a ymddiriedant ynddo." Ni chela ddim o'r profedigaethau, yr erlid, a'r dirmyg, a ddaw i ran ei ganlynwyr. "Arglwydd," medd un, "mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych." Da yw dy benderfyniad, meddai yntau; ond gochel fyrbwylldra, rhag i ti eto yn amser profedigaeth yn y fan gael dy rwystro. "Y mae gan y llwynogod ffauau, a chan adar y nefoedd nythod, ond gan Fab y dyn nid oes le y rhoddo ei ben i lawr." Y mae anialwch yn perthyn i grefydd yn gystal a Chanaan. "Yn y byd gorthrymder a gewch; eithr cymerwch gysur, myfi a orchfygais y byd."

2. *Fel y byddai i'w holl ddysgyblion Ef ei ddilyn oddiar farn a dewisiad, ac nid yn unig dan ddylanwad teimlad y fynyd, neu amgylchiadau allanol.* Y mae Iesu Grist a'i grefydd anwyl yn ddigon i holl alluoedd yr enaid. Gelwir ar ei ddeall ef i droi ac edrych ar y weledigaeth fawr hon; ei reswm a'i farn i eistedd uwchben ei honiadau dirodres; a'i galon, ei holl galon, i deimlo ei deniadau heddychlawn ac iachusol. Y mae Iesu Grist fel Cyfryngwr yn llon'd meddwl Duw! "I'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn." Y mae y pechadur yn sicr o gael ei foddloni ynddo Ef. Ar deilyngdod yr Oen y mae mawl

y nefoedd wedi ei seilio. Y mae crefydd pechadur ar y ddaear i fod yn seiliedig ar yr un peth—teilyngdod Iesu Grist. Ewyllys ein Harglwydd yw i bawb a ddêl ato farnu, a chychwyn ar ei ol ef oddiar farn. Wedi i Moses "farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht," y mae bellach yn gweithio yn ddiorphwys dros ei Arglwydd, ac yn dyoddef yn amyneddgar dros ei enw a'i ogoniant Ef. Y mae yr enaid wedi eistedd mewn barn, ac wedi ymofyn pa fath un yw Iesu Grist, yn synu fod neb yn gallu ei werthu.

**"Ai deg ar hugain arian,**
**Fy Iesu, oedd dy bris?**
**A all'sai 'r arfaeth werthu**
**Ddim uwch, na dim yn is?**
**Anfeidrol ddiystyrwch!**
**Fe dal'sai Mhrynwr mawr**
**Y nefoedd fil o weithiau,**
**A mil o weithiau 'r llawr!"**

3. Cymhellir ymofyniad, yn olaf, *am fod crefydd Iesu Grist yn guddiedig eto, a'i gogoniant mawr hi o fewn y llèn.* Nid oedd yr olwg allanol ar y babell yn yr anialwch ond cyffredin a disylw. Crwyn daearfoch a blew geifr oedd yn dô iddi. Ond oddimewn yr oedd ei gogoniant hi; yno yr oedd yr allor bres, a'r allor aur, y tân sanctaidd, a'r lampau dysglaer. Y cysegr sancteiddiolaf oedd drachefn yn llawn gogoniant: llechau y cyfammod, y drugareddfa, a'r cwmwl dysglaer yn unig oleuni. Nid oedd yno ddim llawer o bethau mewn nifer, ond eu bod yn anfeidrol ogoneddus: Duw ei hun, ei orseddfainc, a'i gyfraith. Tra thebyg yw crefydd Iesu Grist. Oddiallan nid oes mawredd. Y llyfr sydd yn ei darlunio, y mae wedi ei roddi dan holl amgylchiadau llyfrau eraill. Y dynion sydd yn ei phroffesu, rhai cyffredin eu hamgylchiadau ydynt, yn llawn gwendidau naturiol a diffygion pechadurus. Dyma a welir oddiallan. Ond oddimewn i'r llyfr, yn nghanol yr eglwys, y mae yna Un yn rhagori ar ddeng mil, ac oll yn hawddgar. Y mae yr oll sydd fawr, gogoneddus, a graslawn, wedi ymgorffori ynddo. Yr ymofynydd ymdrechgar a difrifol yn unig, gan hyny, a all ddyfod i mewn i gydnabyddiaeth dirgelwch Duw a'r Tad a Christ.

Mynwn foddlonrwydd meddwl ar holl gwestiynau bywyd tragywyddol yn awr mewn pryd. Awn at Iesu Grist

am hyny. Efe yn unig a'i rhydd; ac o'i gael, ni frysiwn yn yr adeg ddifrif sydd gerllaw. Y Cristion yn unig a all fod yn dawel yn y troion sydd yn aros dyn; pan y bydd câr a chyfaill yn myned i dywyllwch, y corff yn ymddryllio gan gystudd a gofid, a thragywyddoldeb yn agor ei ddorau o'i flaen, y byd dyeithr a newydd yn ymgau o'i gwmpas ef. Er hyn oll y mae ei bethau mawr ef wedi eu gwneyd i fyny gyda Iesu Grist! Mynwn ymddyddan âg Ef ei hun. Da yw ymddyddan â Philip ac Andreas; ond dywedwn wrthynt oll yr "ewyllysiem weled yr Iesu!" Amen.

# PREGETH XI.

## AMYNEDD.

GAN Y PARCH. WILLIAM THOMAS (ISLWYN),
BABELL, SIR FYNWY.

**"Cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch mewn amryw brofedigaethau; gan wybod fod profiad eich ffydd chwi yn gweithredu amynedd. Ond caffed amynedd ei pherffaith waith; fel y byddoch berffaith a chyfan, heb ddiffygio mewn dim."—IAGO i. 2—4.**

UN o ddyledswyddau penaf dyn ydyw llafurio am y dymher hono sydd yn gyfaddas i'r sefyllfa arbenig y byddo ynddi. Dylai wneyd yn fawr o'r pethau neu y gorchwyliaethau hyny sydd yn tueddu i weithio ynddo y dymher gyfaddas hon. Ar yr egwyddor hon y sylfaenir y cymhelliad yn y geiriau hyn. Cymhellir y saint i gyfrif yn bob llawenydd pan syrthiont mewn amryw brofedigaethau, nid o herwydd fod y profedigaethau hyny yn dybenu mewn gogoniant tragywyddol, ond o herwydd eu bod, dan fendith yr Arglwydd, yn gweithredu ynddynt y dymher hono sydd yn gyfaddas a chyfatebol i'w sefyllfa tra yn y byd hwn. "Gan wybod fod profiad eich ffydd chwi yn gweithredu amynedd." *Amynedd;* dyma'r gras mawr sydd ar gredadyn ei eisieu. Dyma'r dymher gyfaddas i'w sefyllfa fel etifedd bywyd tragywyddol. Modd i aros. Ar ol y credo yn Nghrist, gellir crynhoi ei ddyledswydd i'r frawddeg hon, *dodi i fyny am ychydig amser â phethau croes ac annymunol.* Y mae gorthrymder ar ol gorthrymder yn ymosod ar y Cristion, pa beth sydd yn anghenrheidiol arno yn wyneb y gorthrymderau hyn? Amynedd yn unig. Modd i aros am ychydig amser. Bydd wedi cyrhaedd gwlad cyn bo hir na ddaw un gelyn na gorthrymder i mewn iddi yn dragywyddol. "Caffed amynedd ei pherffaith waith." Pa brofedigaethau bynag sydd yn ymosod arno, bydd i amynedd ei gario yn orfoleddus trwyddynt oll. Pa demtasiynau bynag sydd yn ymgynnyg iddo, bydd i amynedd ei alluogi i'w gwrthsefyll yn effeithiol. Y mae amynedd yn ras mor fawr a

gwasanaethgar, fel y mae yn werth i'r credadyn ddyoddef profedigaethau yn unig oddiar fod profedigaethau yn ei chryfhâu a'i pherffeithio. Y mae y fantais unigol hon, sef amynedd, a ennillir trwy brofedigaethau, yn gorbwyso yr holl ddrygau y mae y profedigaethau hyny yn eu dwyn arno. Er mwyn grymuso y cymhelliad, y mae'r Apostol yn myned rhagddo i ddangos dylanwad amynedd mewn cysylltiad â pherffeithiad y saint. Y mae yn dangos, os caiff amynedd ei pherffaith waith, y byddant "berffaith a chyfan, heb ddiffygio mewn dim."

Gyda golwg ar yr egwyddor, "fod profiad eich ffydd chwi yn gweithredu amynedd," nid ydym i ddeall fod tuedd mewn gorthrymderau i gynnyrchu y dymher hon, a'u hystyried ynddynt eu hunain. Nis gall profedigaethau roddi bodolaeth i amynedd. Ond lle mae'r egwyddor o amynedd wedi ei phlanu yn yr enaid gan Ysbryd Duw, y mae profedigaethau yn foddion tra chyfaddas i'w galw allan i weithrediad. Y mae "amryw brofedigaethau" yn ei galw allan i ymarferiad mynych. Ac y mae yr ymarferiad hwn yn ei chryfhâu yn fawr. Y pren dyfnaf ei wreiddiau yw yr hwn sydd wedi ei ysgwyd amlaf yn y gwyntoedd; yr aelod grefaf o'r corff yw yr hon sydd wedi ei harferyd fwyaf. Y mae y ddeddf hon yn dal gyda golwg ar gynneddfau y dyn newydd. Y mae ymarferiad yn rhoddi cryfder a pherffeithrwydd iddynt.

Y mae gan amynedd ddylanwad mawr ar berffeithiad y Cristion; profedigaethau sydd yn gweithredu amynedd. Oddiar hyn y mae y cymhelliad yn cyfodi—gwerthfawrogwch brofedigaethau. Bydd yn anghenrheidiol gosod allan wasanaethgarwch a dylanwad amynedd, mewn trefn i egluro grym y cymhelliad. Edrychwn arni yn ei pherthynas â'r drychfeddwl mawr o fwynhâd—yn ei pherthynas â grasusau a dyledswyddau eraill y Cristion —ac yn ei pherthynas â natur a gorchwyliaethau Duw. Fe eglura yr ystyriaethau hyn y dylanwad mawr sydd yn perthyn iddi. "Caffed amynedd ei pherffaith waith" gyda golwg ar yr holl berthynasau hyn, a chwi a fyddwch "berffaith a chyfan, heb ddiffygio mewn dim."

I. Y MAE AMYNEDD, AR BWYS GWELEDIAD FFYDD, YN GOLYGU MWYNHAD FEL PETH DYFODOL.

Awyddfryd dyn sydd am ddedwyddwch. Nid yw Cristionogaeth yn cyfnewid dim ar yr awyddfryd hon, ond yn

ei chryfhâu, a'i galw allan i lawn weithrediad. Yr unig wahaniaeth rhyngddi hi â'r byd, yw ei bod hi yn *gohirio y mater*. Ti gei ddedwyddwch, ond aros hyd fyd arall. Tyred, canlyn fi, a thi a gei drysor; ond "yn y nef"—mewn sefyllfa ddyfodol. Mae'n wir fod i'r Cristion fwynhâd yn y byd hwn, ond o'i gyferbynu â'r dedwyddwch sydd yn ei aros yn y nef, nid yw ond fel yr ernes o'i gyferbynu â'r etifeddiaeth, neu y dafn o'i gyferbynu â'r môr. Yn y dyfodol y mae "y digonolrwydd llawenydd" yn gorwedd, "ar dy ddeheulaw."

Y mae amynedd, fel y gras trwy yr hwn y mae y Cristion yn ymaros am y dedwyddwch dyfodol yma, ac yn ymddal hyd oni ddelo, yn cario dylanwad mawr arno. Y mae yn ei alluogi i wrthsefyll temtasiynau byd a chnawd. Y mae y rhai hyn yn dal allan bleser o flaen yr enaid, ac yn ei hudo i fwyniant llygredigaeth. Na, medd amynedd, yr wyf fi yn aros am bleser; y mae y mater o fwynhâd gyda mi wedi ei drosglwyddo drwodd i fyd arall. Y mae ffydd wedi dangos llawenydd tragywyddol y nef i mi, ac yr wyf yn penderfynu ymaros am y llawenydd hwnw.

Rhoddir i ni eglurhâd tarawiadol o ddylanwad a rhagoriaeth amynedd yn "Nhaith y Pererin;" sef ei dylanwad yn y berthynas hon â'r addewid o fywyd tragywyddol. Mewn ystafell yn Nhŷ y Dëonglydd eisteddai dau fychain, bob un yn ei gadair ei hun. Enw y naill ydoedd Nwyd, enw y llall oedd Amynedd. Ymddangosai Nwyd yn dra annedwydd ac anfoddog, ond yr oedd Amynedd yn llonydd a thawel. Dyma y rheswm fod Nwyd mor annedwydd, meddai'r Dëonglydd, y mae y llywodraethwr yn ewyllysio iddo aros am ei bethau goreu hyd ddechreu y flwyddyn nesaf, ond y mae ef am eu cael yn ddioed; ond am Amynedd, y mae hi yn foddlawn i aros. Cafodd Nwyd ei gyfran yn y fan, a mawr oedd ei lawenydd. Ond ymhen ychydig amser yr oedd wedi treulio y cwbl, ac nid oedd dim am dano ond carpiau. Ffigyrau yw y ddau hyn, meddai'r Dëonglydd. Nwyd yw dynion y byd hwn, Amynedd yw dynion y byd a ddaw. Nis gall dynion y byd hwn aros am eu pethau da hyd oni ddelo byd arall. Rhaid iddynt eu cael yn awr, ac fel Nwyd y maent yn myned trwy y cyfan yn bur fuan, ac yn suddo i dlodi tragywyddol. Ond y mae dynion y byd a ddaw yn fodd-

lawn i aros am eu gwynfyd; a thrwy hyny y maent nid yn unig yn diogelu iddynt eu hunain y gyfran oreu, ond yn ymgadw yn bur hefyd oddiwrth lygredigaethau y byd drwg presennol. Y maent "yn ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig."

Gellir nodweddu y saint, tra yn yr ystâd bresennol, fel "dynion y byd a ddaw." Y mae y byd hwn yn cynnyg pleserau hudoliaethus iddynt, ond y mae amynedd yn eu galluogi i fyned heibio i'r cwbl yn ddiangol, gan ddyweyd, Dynion y byd a ddaw ydym ni. Bydded pethau y byd hwn i ddynion y byd hwn. Yn y byd a ddaw y mae ein pleserau ni; yr ydym trwy amynedd yn dysgwyl am danynt. Y gair sydd genym ni ar gyfer pleser yw—"y byd a ddaw." Y mae y ddau air yn gyfystyr yn ein meddwl ni, ac yn ymdoddi i'r un ddelw o ogoniant a dymunoldeb.

Yr ydym yn canfod y dylanwad mawr sydd yn perthyn i amynedd. "Caffed amynedd ei pherffaith waith," yn ei pherthynas â'r gogoniant dyfodol, "fel y byddoch berffaith" yn nghanol byd llawn o demtasiynau peryglus.

II. Edrychwn ar Amynedd yn ei pherthynas a grasusau a dyledswyddau eraill y Cristion, tuag at egluro ymhellach ei gwasanaeth a'i defnyddioldeb.

Y mae amynedd yn anghenrheidiol tuag at i rasusau eraill y Cristion gael eu llawn ymarferiad a'u llawn ddylanwad. "Caffed amynedd ei pherffaith waith, fel y byddoch berffaith a chyfan." Cymhwysir y gair hwn, *cyfan*, at y cyfryw grëaduriaid sydd yn meddiannu yr holl aelodau perthynol i'w rhywogaeth. Nis gall y Cristion feddiannu ac ymarfer holl gynneddfau y dyn newydd heb amynedd. Y mae cyfander y bywyd ysbrydol, o ran y llawn ymarferiad o'i holl ranau, yn ymddibynu ar y gras hwn. Amynedd sydd yn rhoddi i'r Cristion feddiant a meistrolaeth arno ei hun yn y cyfan ag ydyw trwy natur a thrwy ras.

Meddyliwn am obaith. Y mae gobaith yn ras mor fawr, fel y priodolir achubiaeth ei hun iddo. "Canys trwy obaith y'n hiachäwyd." Ond y mae gobaith ar unwaith yn golygu gwrthddrych anweledig a dyfodol. "Eithr y gobaith a welir nid yw obaith: oblegid y peth y mae un yn ei weled, i ba beth y mae eto yn ei obeith-

io?" Y mae yn amlwg fod yn rhaid wrth amynedd i ymaros am y gwrthddrych. Felly y mae Paul ar ol dyweyd, "Trwy obaith y'n hiachäwyd," yn esbonio ei osodiad yn yr adnod ddilynol fel hyn—"Os ydym ni yn gobeithio yr hyn nid ŷm yn ei weled, yr ydym trwy amynedd yn dysgwyl am dano." Pa fodd y mae gobaith am fywyd tragywyddol yn ein hachub? Yn y modd yma—yr ydym trwy amynedd yn dysgwyl am ei wrthddrych, ac yn ymddal dan bob croes hyd oni ddelo. Sonir am "ymaros" mewn cysylltiad â gobaith. "Ac ymaros eich gobaith yn ein Harglwydd Iesu Grist," sef ymaros am ei ailddyfodiad. A phan annogir y saint i fod "yn llawen mewn gobaith," ychwanegir yn union, "yn ddyoddefgar mewn cystudd." Y mae yn amlwg fod yr agwedd hono ar y meddwl a nodweddir fel amynedd, yn hollol angenrheidiol tuag at i obaith gael ei lawn ymarferiad a'i berffaith waith.

Y mae yn rhaid i gariad eilwaith wrth amynedd. Os na fydd gan y Cristion amynedd, pa fodd y gall efe ddyoddef absennoldeb Gwrthddrych mawr ei gariad? Y mae annyoddefgarwch yn natur cariad pan fyddo ei wrthddrych yn absennol. Ac o bob absennoldeb, absennoldeb Crist oddiwrth yr enaid yw yr anhawddaf ei ddwyn. Y mae Crist yn fath wrthddrych nas gall dim arall lanw ei le yn y galon, a gwneyd i fyny am ei absennoldeb. Oddiar yr ystyriaeth hon y mae yn rhaid i gariad wrth amynedd, fel y gallo ddodi i fyny â'r absennoldeb oddiwrth ei wrthddrych. "A'r Arglwydd a gyfarwyddo eich calonau chwi at gariad Duw, ac i ymaros am Grist."

Heb amynedd nis gall cariad gael yr ymarferiad llafurus sydd wedi ei ordeinio iddo yn yr ystâd bresennol. Oblegid tuedd cariad ydyw myned at ei wrthddrych. Fe fynai groesi dros y cyfan at ei wrthddrych yn ddioed. Dyma ei awyddfryd a'i ddymuniad—"bod gyda Christ." Y mae "dattod" yn orchwyliaeth ofnadwy, ond nid yw cariad yn ofni "dattod" er mwyn myned at ei wrthddrych. Ond y mae gan y Cristion lawer iawn o ddyledswyddau i'w cyflawni cyn y sylweddolir y dymuniad hwn. Y mae ganddo lawer o wasanaeth i'w gyflawni dros Grist cyn myned at Grist i fyw byth; a chariad, mewn modd arbenig, sydd i gyflawni y gwasanaeth hwn. Rhaid gan hyny wrth amynedd i lywodraethu cariad, ei gymedroli,

a'i ddwyn at y cyflawniad o'r dyledswyddau sydd yn gorphwys ar y Cristión yn yr amser presennol. Nis gall cariad gyflawni y gwaith sydd wedi ei dori iddo yn y fuchedd hon, ond mewn undeb âg amynedd. Ac y mae awyddfryd cariad am fod yn nghartref gyda Christ mor gryf lawer pryd, fel y mae yn rhaid wrth *berffaith* waith amynedd i'w gymmodi âg "aros yn y cnawd."

"Caffed amynedd ei pherffaith waith, fel y byddoch berffaith a chyfan." Y mae amynedd yn rhoddi i'w pherchenog *allu hunanfeddiannol.* Nid oes gwahaniaeth faint o synwyr, gwybodaeth, a barn, fyddo gan ddyn, os cyll efe ei amynedd fe gyll y meddiant ar ei farn, ei synwyr, a chyfan sydd ganddo. Y mae ein Harglwydd, wrth ragddarlunio y dinystr a oddiweddai Jerusalem, yn cyfarwyddo ei ddysgyblion i fod yn amyneddgar y pryd hwnw, fel y gallent feddiannu eu hunain yn nghanol y cyffro arswydol. "Yn eich amynedd meddiennwch eich eneidiau." Dyma y gallu trwy yr hwn yr ydym i gadw meddiant o honom ein hunain; meddiant o'n cynneddfau fel dynion, ac o'n grasusau fel saint. Os na allwn gadw meddiant o bethau eraill, megys cyfoeth, cysuron, a chyfeillion, peth mawr iawn os gallwn gadw meddiant o honom ein hunain. Yn wir dyma ddyledswydd fawr y Cristion yn y byd profedigaethus a chyfnewidiol hwn—cadw meddiant o hono ei hun. Llywodraethu ei long, cadw meddiant ac awdurdod arni hi, ydyw dyledswydd a champ fawr y cadben yn y 'storom. At ei long y mae ef i edrych, nid at y tònau a'r gwyntoedd y tu allan. Nid oes ganddo ddim i'w wneyd â'r môr garw ac â'r elfenau digofus. Rhaid iddo adael y tònau a'r gwyntoedd iddynt eu hunain, i fyned a dyfod yn ol eu hewyllys. Cyfynged ei holl sylw i'w long. Os gall feddiannu a llywodraethu ei long am ychydig amser, bydd y perygl wedi myned drosodd; bydd wedi cyrhaedd yr hafan ddymunol. Nid oes gan y credadyn yntau ddim i'w wneyd â thònau geirwon gorthrymder a phrofedigaeth. Ni ddysgwylir iddo ef lywodraethu y rhai hyn. Rhaid iddo adael iddynt hwy rüo ac ymderfysgu,

"A gado i gystudd ddod,
Oddiyma ac oddidraw.'

Meddiannu ei hunan yw ei ddyledswydd fawr; llywodr-

aethu ei hunan; cadw ei hunan yn ei law; cadw y byd mewnol mewn trefn; cadw ffydd, gobaith, cariad, yn eu lle ac wrth eu gwaith. Ond iddo wneyd hyn fe fydd allan o gyrhaedd perygl ymhen ychydig amser; bydd yn yr hafan ddymunol ar fyr, a bydd y 'storom ddiweddaf am dragywyddoldeb wedi chwythu drosodd.

Ni a welwn ddylanwad amynedd yn ei pherthynas â grasusau eraill y Cristion: "Fel y byddoch berffaith a chyfan." Nis gall yr enaid ei hun, yr hwn yw eisteddle pob gras, gael ei gadw a'i feddiannu hebddi. "Cyfrifwn yn bob llawenydd pan syrthiom mewn amryw brofedigaethau," os bydd y profedigaethau hyny yn cael eu sancteiddio i gryfhâu a pherffeithio y fath ras gwasanaethgar, trwy yr hwn yr ydym yn "meddiannu ein heneidiau" yn nghyflawnder eu galluoedd naturiol ac ysbrydol. Y peth nesaf at gael meddiant o Grist ydyw cadw meddiant o honom ein hunain. Fel y mae ffydd yn rhoddi i ni feddiant o'r blaenaf, felly y mae amynedd yn rhoddi i ni feddiant o'r olaf. Ac fel y mae amynedd yn rhoddi i ni feddiant presennol o honom ein hunain, felly y mae yn ein dwyn i feddiant o bob peth arall angenrheidiol er ein dedwyddwch tragywyddol yn y pen draw.

Edrychwn ar amynedd, eto, yn ei pherthynas â'r dyledswyddau amrywiol sydd yn gorphwys arnom mewn crefydd. I'r mesur y byddo amynedd yn ddiffygiol, i'r mesur hwnw y byddwn yn ddiffygiol yn nghyflawniad ein dyledswyddau. Meddylier am unrhyw ddyledswydd grefyddol, ac edrycher pa un a ellir ei chyflawni heb amynedd.

Un o ddyledswyddau amlycaf a phwysicaf y Cristion ydyw *gweddi*. Y mae yn amlwg nas gellir cyflawni y ddyledswydd hon mewn modd effeithiol a llwyddiannus, heb amynedd i aros am y fendith. Nid yw yr Arglwydd yn rhoddi yr hyn a ofynwn ganddo yn ddiatreg. Y mae efe yn aml yn gohirio yr atebiad am amser maith. Y mae "yn hir oedi dros ei etholedigion," er eu bod "yn llefain arno ddydd a nos." Gan hyny, os byddwn yn ddiffygiol o amynedd, bydd i ni ddigaloni, a rhoddi i fyny y gwaith o weddïo yn gyfangwbl. Fe ddaw Duw at ei amser ei hun, ond anfynych y mae yn dyfod at ein hamser ni.

Y mae amynedd hefyd yn anghenrheidiol yn y ddyledswydd o *wrando y gair*, fel y byddo iddo gael ei ddylanwad

priodol ar y meddwl. Nis gall y gair gael ei argraffiadau priodol ar feddwl terfysglyd, gwrthryfelgar, ac annyodd-efgar. Mewn modd arafaidd a graddol y mae y gair yn cynnyrchu ar ffrwyth yn yr enaid, fel yr had yn y tir da. Felly dywedir am "y tir da," ei fod yn arwyddocâu y cyf-ryw sydd yn gwrando y gair ac "yn dwyn ffrwyth trwy amynedd." Oddiar hyn y mae yn rhaid i weinidogion y gair wrth amynedd, "a phob hirymaros," i ddysgwyl am y ffrwythau.

Y mae yr ystyriaethau hyn yn egluro mawr ddylanwad amynedd gyda golwg ar berffeithiad y Cristion. Nis gall gyflawni ei ddyledswyddau hebddi. Nis gall redeg yr yrfa hebddi, na pharhâu hyd y diwedd, yr hyn sydd yn hanfodol i gadwedigaeth. "Caffed amynedd ei pherffaith waith, fel y byddoch berffaith a chyfan" o ran yr ymarfer-iad o'ch holl rasusau, a'r cyflawniad o'ch holl ddyled-swyddau. "Canys rhaid i chwi wrth amynedd; fel, wedi i chwi wneuthur ewyllys Duw, y derbyniwch yr addewid."

III. Edrychwn ar Amynedd yn ei pherthynas a natur a gorchwyliaethau Duw.

Amynedd sydd yn dwyn yr enaid i gydgordiad â phen-arglwyddiaeth Duw. Gellir nodweddu amynedd, mewn modd neillduol, fel ymostyngiad cyflawn i benarglwydd-iaeth Ddwyfol. "Yr Arglwydd yw," dyna ddigon i amyn-edd; "gwnaed a fyddo da yn ei olwg." 'Yr wyf yn rhoddi addewidion mawr iawn a gwerthfawr, ond rhaid i gyflawn-iad yr addewidion hyny fod yn hollol ddarostyngedig i'm hewyllys benarglwyddiaethol.' Hwy a gânt fod, medd amynedd; ni ddywedaf air, ond aros yn unig. 'Mi a'th achubaf, ond rhaid i mi gael fy ffordd fy hun.' Ti a'i cei, Arglwydd! yn unig achub fi. 'Y mae genyf hawl i weithredu fel y mynwyf, ac i fesur allan fy rhagluniaeth yn ol boddlonrwydd fy ewyllys fy hun.' Yr wyf yn cyd-nabod yr hawl hono, medd amynedd, ac yn ymostwng. Ymostwng yw fy ngwaith i, nid ymholi.

Y mae gorchwyliaethau yr Arglwydd tuag at y Cristion i gyfansoddi amlygiad penodol o ddoethineb Ddwyfol. Gwaith doethineb yn y gorchwyliaethau hyn ydyw, cy-mhwyso rhagluniaethau yn y fath fodd ag a fydd yn fwyaf cyfaddas er ei lesâd, ei sancteiddiad, a'i gadwedig-aeth. Ond yn niffyg amynedd, y mae llèn yn debyg o syrthio rhwng y meddwl a'r briodoledd ogoneddus hon,

fel y bydd yn methu ei chanfod a'i chydnabod lawer pryd. Mynych iawn y mae y Cristion yn methu amgyffred pa les wna yr orchwyliaeth hon iddo. 'Cymeryd fy mhlant ymaith, gwneyd adwyau mor llydain yn fy nheulu, fy narostwng i dylodi—pa lesâd all fod mewn gorchwyliaeth mor brofedigaethus?' Yma y mae amynedd yn dyfod i mewn, ac yn cadw yr wybren yn oleu rhwng y meddwl a doethineb Duw. Aros, medd amynedd, dyoddef yn dawel, ti gei wybod ar ol hyn. Ti gei amgyffred y cyfan yn y man. Ti gei ddeall paham y'th arweiniwyd dros y mynyddoedd geirwon, yn lle ar hyd y gwastadedd teg. Ti gei weled fod llai o brofedigaethau mewn cyflwr o adfyd nag mewn cyflwr o hawddfyd, a bod yn hawddach myned tua'r nefoedd â gwynt y byd yn dy erbyn nag o'th du. Ti gei weled gwythien ddidor o ddoethineb yn rhedeg trwy holl fryniau yr anialwch, yn y man. Ti gei weled fod dyben daionus a grasol yn ngolwg dy Dduw; mai "er dy ddarostwng" y'th arweiniwyd trwy gymaint o orthrymderau, "ac er dy brofi di, i wneuthur daioni i ti yn dy ddiwedd."

Y mae amynedd yn perswadio y meddwl i aros hyd derfyn y daith, fel y gallo edrych ar holl gynllun Doethineb yn ei berffeithrwydd gorphenedig—i ohirio ei farn nes y gall weled ei holl orchwyliaeth hi yn gyfanwaith gyflawn. Dyma lle y gorwedd prif berygl dyn gyda golwg ar ddoethineb Duw—barnu wrth *ranau* o'i ffyrdd hi, yn lle aros nes cael golwg ar y *cyfan*. Y rheswm fod meibion Israel, pan yn yr anialwch, yn methu canfod doethineb a chyfaddasder yr orchwyliaeth orthrymderus, ydoedd eu bod yn barnu wrth ranau o honi. Yn wir, nis gallasent weled ond rhanau o honi yno. 'Dyma ddiwrnod garw a thymhestlog,' meddynt wrth eu gilydd, gan ddigaloni a gwrthryfela ynddynt eu hunain. Wrth y diwrnod *hwnw* yr oeddynt hwy yn barnu. Ond ar ol cyrhaedd Canaan, a gallu bwrw yr holl ddiwrnodau at eu gilydd, nes cyfansoddi cyfanbeth o ddeugain mlynedd, yr oedd eu barn am yr orchwyliaeth wedi newid yn hollol. Pa beth a welent yn y cyfanwaith? Golchiad oddiwrth fudreddi yr Aipht, a chymhwysiad i wlad sanctaidd. "Ffordd uniawn i fyned i ddinas gyfanneddol."

Y mae *design* yn gofyn am gyfander a gorphenedd yn y gwaith sydd i'w amlygu. Rhaid i chwi aros i'r gwaith

gael ei orphen yn ei holl ranau, cyn y gellwch weled y meddwl o amcaniaeth sydd yn y cynlluniwr. Os awn i mewn i'r llongadeiladfa, lle mae llong newydd yn dechreu cael ei hadeiladu, ni a welwn y defnyddiau yn gorwedd yn wasgaredig ar hyd y lle: darn yma a darn acw, hwylbren fan hon ac hwylbren fan draw. Rhaid i ni beidio rhoi barn ar amcan a doethineb y cynlluniwr yn awr. Rhaid aros yn amyneddus hyd nes y byddo yr holl ddarnau hyn wedi eu gosod at eu gilydd, nes cyfansoddi un cyfanwaith mawr. Y mae yn hardd, yn gyfaddas, yn ogoneddus, erbyn hyn! Un drychfeddwl yw y cwbl. Y mae defnyddiau Doethineb yn gorwedd yn wahanedig a gwasgaredig yn awr: cystudd yma, a chystudd draw, Aroswch nes y galloch daflu y cwbl at eu gilydd—pob cystudd, pob diwrnod, pob profedigaeth, i gyd at eu gilydd, yn unpeth cyfan. Pa beth a welir? Un meddwl pur. Pa beth yw y meddwl hwnw? Cymhwyso un oedd yn hollol anghymhwys "i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." "Hwn er llesâd i ni, fel y byddem gyfranogion o'i sancteiddrwydd Ef." "Gwyn ei fyd y gŵr sydd yn goddef profedigaeth: canys pan fyddo profedig, efe a dderbyn goron y bywyd, yr hon a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant Ef." Yr unig beth sydd yn anghenrheidiol, yn y cyfamser, ydyw amynedd. "O ran y gwyddom," ond bydd i amynedd ein cadw yn ymostyngar a dirwgnach hyd oni "adnabyddwn megys y'n hadwaenir."

Y mae yr ystyriaethau hyn yn ddiau yn gymhelliadau cryfion i amynedd gaffael "ei pherffaith waith." Oblegid pan y mae amynedd yn cael ei pherffaith waith, y mae yr holl beirianwaith mawr sydd yn dal perthynas â'n cadwedigaeth, yn ei holl ranau yn cael ei berffaith waith. Y mae ein grasusau a'n dyledswyddau eraill yn cael eu perffaith waith; a'r hyn sydd yn fwy na'r cyfan, y mae Duw yn cael ei berffaith waith. Onid yw y manteision hyn sydd ynglŷn âg amynedd, yn rhoddi i ni reswm digonol dros orfoleddu mewn profedigaethau, gan wybod fod y profedigaethau hyny yn foddion i'w chryfhâu?

"Ond caffed amynedd ei pherffaith waith." Fel cymhelliadau pellach i hyn, nodwn yr ystyriaethau canlynol.

1. *Y mae y peth a ddysgwylir yn sicr.* Y mae addewid y fendith wedi dyfod oddiwrth Un anghyfnewidiol.

Anghyfnewidioldeb ei natur yw sylfaen anghyfnewidioldeb ei addewidion. Y rheswm fod dynion yn newid eu bwriadau, ac yn tori eu haddewidion, yw eu bod hwy eu hunain yn newid. Nid yw Duw ei hun byth yn newid, ac yn hyn y gorwedd dianwadalwch ei addewidion. Nid yw fod yr Arglwydd yn pellhâu cyflawniad yr addewid yn un arwydd ei fod yn meddwl ei rhoddi heibio. Ped edrychem ar amser fel y mae Rhoddwr yr addewid yn edrych arno, sef yn ei berthynas âg oesoedd tragywyddoldeb, ni fyddai ond ychydig o beth i ni aros hyd yn nôd am ei ddyfodiad gyda chymylau y nef. Mil o flynyddau ar y ddaear, ni fyddai hyny ond "un dydd" ar galendar y nefoedd. "Os erys, dysgwyl am dani; canys gan ddyfod y daw, ac nid oeda."

2. *Fe dry gohiriad y fendith yn fwyhâd arni yn y man.* Y pererin amlaf ei groesau, a mwyaf ei amynedd, gaiff yr etifeddiaeth ëangaf yn y wlad well. Po hwyaf y daith, hwyaf oll y tynir allan fesur-linyn y gogoniant. Y mae dynion yn awyddus iawn am lïosogi eu cyfranau *(shares)* mewn masnach dymmorol. Cofleidiwch chwithau brofedigaethau, llïosogi eich *shares* mewn gogoniant y byddwch trwy hyny—helaethu eich cyfran mewn byd gwell. "Caffed amynedd ei pherffaith waith" oddiar yr ystyriaeth hon, y bydd helaethiad eich amynedd yn sylfaen ac yn fesur i helaethiad eich gogoniant. Nid o haeddiant, ond dyma ordeiniad Brenin y wlad yr ydych yn myned i'w meddiannu. "Cyfrifwch yn bob llawenydd, gan hyny, pan syrthioch mewn *amryw* brofedigaethau." Y mae llïosogrwydd profedigaethau yn dod yn sylfaen o orfoledd. Fel hyn y mae amynedd a phrofedigaethau yn dod yn *gapital* mewn gogoniant a bywyd tragywyddol.

Mewn pethau tymmorol nid ydym yn foddlawn i gael y cyfanswm yn unig. Rhaid i ni gael llôg hefyd—y cyfanswm gyda llôg. Y mae Duw yn myned i roi y nefoedd i'w bobl ar gyfrif Iawn y groes. Ond gallant ei chael gyda llôg ar gyfrif dyoddefiadau pellach. Mawr yw grym dyoddefiadau yn nhrefn y cadwedigaeth! Nid oes dim dan y wedd o ddyoddef nad oes rhywbeth ar ei gyfer mewn gogoniant. Dyma ddrychfeddwl mawr a chanol holl drefn iachawdwriaeth—bywyd trwy farwolaeth, dedwyddwch trwy ddyoddefiadau. Braidd na feddyliem fod

y Meddwl Tragywyddol wedi cael ei gymeryd i fyny gymaint gan yr egwyddor fawr hon, fel y mae yn foddlawn ei pharhâu ar raddeg *(scale)* îs trwy holl orchwyliaethau y drefn. Chwi gewch rywbeth yn wobrwy am bob croes. "Yn lle eich cywilydd y cewch yn ddauddyblyg." Bydded hyn yn gymhelliad i amynedd gael ei pherffaith waith. "Yn y tir y meddiannant ran ddwbl; llawenydd tragywyddol fydd iddynt."

3. *Bydd yr anghen am amynedd wedi darfod cyn bo hir.* Bydd y Cristion wedi cyrhaedd byd lle na bydd galwad am ei gwasanaeth yn oesoesoedd. Nis gwyddom yn iawn pa un a fydd eisieu gwasanaeth ffydd a gobaith ar ol cyrhaedd y nef. Pa beth bynag am danynt hwy, y mae yn amlwg na bydd eisieu amynedd mwy. Pa un bynag a dröant hwy yn ôl yn yr Iorddonen ai peidio, y mae yn ddiammheu y try amynedd. Ni fydd "gwaith" iddi mwyach i dragywyddoldeb. "Duw a sych ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt."

"Cymerwch, fy mrodyr, y prophwydi, y rhai a lefarasant yn enw yr Arglwydd, yn siampl o ddyoddef blinder, ac o hirymaros. Wele dedwydd yr ydym yn gadael y rhai sydd ddyoddefus." "Dedwydd," fel rhai yn meddu ac yn ymarfer y gras hwnw a'u galluoga i ymgynnal dan orthrymderau, ac a'u ceidw "yn berffaith a chyfan, heb ddiffygio mewn dim."

"Chwi a welsoch ddiwedd yr Arglwydd." Y mae diwedd gorchwyliaethau yr Arglwydd tuag at Job yn ddiau yn gymhelliad i weithredu amynedd. Bydd diwedd ei orchwyliaethau tuag at ei holl bobl yr un mor ogoneddus. Yr ydym wedi dyfod hyd at ymyl y môr dilànau. "Diwedd yr Arglwydd!"—diwedd ei ymdriniaethau â'i bobl. Y mae iaith yn gallu plymio dyfnderoedd a dringo uchelderoedd y grëadigaeth, gan osod allan y cyfan yn ei darluniadau. Ond yma, y mae hithau yn sefyll yn ymyl dyfnder ag sydd yn llyncu ei holl eirlyfrau fel pethau cwbl ddiystyr! "Bywyd tragywyddol a etifedda efe!"

# PREGETH XII.

## Y BUDDUGOLIAETHWR.

### GAN Y PARCH. WILLIAM ROBERTS, CAER- EFROG NEWYDD, AMERICA.

"Pwy yw Hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bozrah? Hwn sydd hardd yn ei wisg, yn ymdaith yn amlder ei rym? Myfi, yr Hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, ac wyf gadarn i iachâu."—ESAIAH lxiii. 1.

MAE gwaredigaeth pechadur yn cael ei dwyn i ben trwy orchwyliaeth ryfeddol o goncwest a dinystr. Yn nghyflawniad trefn fawr yr iachawdwriaeth, mae gwaredigaeth yr enaid yn wastad yn cymeryd lle fel canlyniad buddugoliaeth ac anrhaith. Y mae pedair ymherodraeth nerthol yn cael eu darostwng a'u malurio yn achubiaeth pechaduriaid o'u cyflwr o gaethiwed ysbrydol: teyrnas Satan, arglwyddiaeth pechod, goruchafiaeth y byd, ac ymherodraeth angeu. Mewn perthynas i lywodraeth foesol y Jehofah, y mae y ddarpariaeth fwyaf addas ac effeithiol sydd bosibl ei chael, er ei heddychu, ei dyrchafu, a'i chadarnhâu, yn yr anrhydedd a'r urddas uchaf. Y mae wedi ei mawrhâu a'i gwneuthur yn anrhydeddus. Oddiwrth hyn, ymddengys mai yr amcan mawr mewn golwg ynddi ydyw, nid gorchfygu a dinystrio, ond cymmodi a gogoneddu, egwyddorion hanfodol y llywodraeth Ddwyfol. Ar yr un pryd, y mae yn rhaid i arglwyddiaethau gormesol Satan, y byd, ac angeu, gael eu dymchwelyd a'u diddymu, mewn trefn i gwblhâu achubiaeth pechaduriaid. "Canys rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion yn droedfainc i'w draed." Tuag at ddwyn i ben y gwaith mawr hwn ar dir cyfreithlawn, yr oedd yn hollol anghenrheidiol i dragywyddol Fab Duw foddloni a mawrhâu y llywodraeth Ddwyfol trwy daliad digonol, sef ei werthfawr waed ei hun. Y mae gorsedd gyfryngol Crist, fel Brenin Sïon, wedi ei sylfaenu a'i hadeiladu ar haeddiant ei aberth iawnol fel Offeiriad.

Felly, elfenau ei swydd offeiriadol ydyw gwaelod gallu ac awdurdod ei swydd freninol; a'r gwaith mawr y mae yn ei gyflawni fel Brenin ydyw gwaredu pechaduriaid, trwy orchfygu a dystrywio ei elynion chwerw a chreulawn. Yr oedd ei fuddugoliaeth haeddiannol ar yr ymherodraethau nerthol hyn trwy ei iawn fel Offeiriad, yn parotôi y ffordd i'w fuddugoliaeth effeithiol arnynt fel Brenin trwy ddylanwadau ei Ysbryd. Fe ysigodd ben y sarph ar y groes, fel y byddai iddo yn weithredol waredu a phrynu pechaduriaid odditan allu Satan. Gorchfygodd y byd, yn ei ddirmyg a'i anrhydedd, fel y gwaredai ei bobl oddiwrth wagedd a mawredd gau y byd drwg presennol. Dybenodd gamwedd, o ran ei gosb, mewn trefn i ddystrywio gallu arglwyddiaethol pechod yn yr enaid. Llyncodd angeu mewn buddugoliaeth, fel y rhoddai i'r rhai sydd yn credu ynddo le i lechu rhag colyn gwenwynig marwolaeth. Fel hyn yr ydym i ystyried ei fuddugoliaeth haeddiannol ar y groes, fel sail ei fuddugoliaeth weithredol trwy yr efengyl.

Ac heblaw hyny, y mae goruchafiaeth egwyddorion daionus teyrnas y Messïah yn y byd, yn sicr o gael ei dwyn oddiamgylch trwy gyfryngiad Rhagluniaeth yn ninystr a dymchweliad llwyr y galluoedd gwladol hyny sydd yn sefyll yn wrthwyneb i'w llwyddiant a'i hamcan. Fel hyn y mae yn amlwg fod iachawdwriaeth pechaduriaid yn bersonol, ac achubiaeth y byd yn gyffredinol, yn cael ei gwblhâu trwy ddirgel orchwyliaeth o fuddugoliaeth a dinystr.

Y mae yr Arglwydd Iesu, yn y brophwydoliaeth hynod ag y mae y testun yn rhan o honi, yn cael ei osod allan yn brydferth fel gorchfygwr galluog yn dychwelyd o faes y gwaed, â'i wisg wedi llychwino gan waed ei elynion; yn ymddangos fel un wedi bod yn sathru yn y gwinwrŷf. Y mae y prophwyd, wedi ei synu gan ei ymddangosiad mawreddus, yn gofyn mewn pryder, "Pwy yw Hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bozrah?" Yn awr, sylwch, yr oedd teyrnas Edom, o'r hon yr oedd Bozrah yn brifddinas, yn gydymgeisydd ac yn elyn i'r Iuddewon, pobl Dduw. Mae y gair Edom yn arwyddo *coch*, fel *gwaed*, ac arwydda Bozrah *cynauaf y gwin*. Y mae hyn yn dynodi, yn ol priod-ddull prophwydoliaeth, dïaledd Duw ar ei elynion. Yn awr, y mae Edom a Bozrah, mewn cy-

sylltiad â'r Messïah, i'w ddeall yn gyfriniol, ac nid yn llythyrenol. Y mae yr ysgrifenwyr Iuddewig yn gyffredinol yn barnu fod Edom, yn iaith prophwydoliaeth, yn sefyll am Rufain; ac y mae yn ffaith ddiammheuol fod Rhufain Baganaidd a Phabaidd wedi bod yn elynion cyffesedig a chreulawn i wir eglwys Crist, yn gymhwys fel yr oedd Edom i'r eglwys Iuddewig; ac y mae Bozrah, fel prifddinas Edom, yn arwyddo yn gyfriniol prif eisteddle ei gallu. Y mae rhai o'r dyb, fod y brophwydoliaeth yn cyfeirio at ddymchweliad Rhufain Baganaidd trwy ddyrchafiad Cystenyn Fawr i'r orsedd ymherodrol. Y mae hefyd i gael ei chyflawni ymhellach, ac yn llawnach, yn ninystr Rhufain Babaidd a holl alluoedd Anghristaidd Ewrop.

Ond rhaid i ni gadw mewn cof, fod cysylltiad anwahanol rhwng gorchestion buddugoliaethol iawn Crist â'i lwyddiant dyfodol, yn gymaint ag mai y cyntaf yw yr achos, a'r olaf yw yr effaith. Yn ei holl fuddugoliaethau, mae y Messïah yn ymddangos wedi ei ddilladu mewn gwisgoedd gogoneddus, fel rhyw dywysog nerthol "yn ymdaith," nid fel un wedi blino ar yr ymladdfa, ond yn "*amlder ei rym*"—yn abl ac yn barod i orchfygu pob galluoedd gwrthwynebol; a phan y gofynwyd, "Pwy yw Hwn?" mae y Messïah yn ateb ei hunan, "Myfi, yr Hwn a lefaraf mewn cyfiawnder"—myfi, yr Hwn wyf yn cyhoeddi dedfryd cyfiawnder ar fy ngelynion, "ac wyf gadarn i *iacháu*" fy eglwys oddiwrth ormes ei holl elynion.

Wedi gwneuthur y sylwadau rhagarweiniol hyn, gadewch i mi wahodd eich sylw at *yr hyn a olygir*, ac at *yr hyn a dystiolaethir* yn y testun.

Y gwirionedd a olygir, ydyw TRUENI A PHERYGL CYFLWR DYN WRTH NATUR.

Y gwirionedd a dystiolaethir ydyw HOLLDDIGONOLRWYDD GALLU CRIST I'W WAREDU O'I GYFLWR COLLEDIG: "Wyf gadarn i iachâu."

Gadewch i ni edrych

I. AR DRUENI A PHERYGL CYFLWR DYN WRTH NATUR. Y mae y geiriau *iachawdwr*, *iachawdwriaeth*, ac *iachâu*, yn golygu sefyllfa dyn wrth natur, gan arwyddo fod sefyllfa dyn wrth natur yn sefyllfa o drueni a pherygl—ei gyflwr yn gyfryw ag sydd yn gofyn Iachawdwr galluog.

1. Yr ydym i sylwi *fod dyn mewn sefyllfa golledig*. Y

mae y natur ddynol yn cael ei desgrifio, yn iaith y Bibl, fel un a gollesid. Y mae dyn yn cael ei ddarlunio dan yr arwyddluniau gwahanol o ddefaid colledig, ac o ddrwg-weithredwr wedi ei ddedfrydu i farwolaeth. Fel dafad golledig, y mae wedi gadael Duw, ei Fugail ffyddlawn a gofalus. Mae wedi crwydro o gorlan ei gyfammod. Y mae wedi tori dros derfynau ei gyfraith. Y mae wedi ymfudo, o wlad ffrwythlawn ei ffafr, i anialwch diffaith y byd hwn; ac yma y mae yn cael ei amgylchynu gan fleiddiaid rheibus chwantau bydol, a chan lewod ysglyfaethus y ffau uffernol, yn agored i'w holl greulonder, a'r galluoedd ofnadwy sydd ganddynt i ddyfetha a dinystrio. Yn awr, mae yn rhaid bod Crist, y Bugail da, yn "*gadarn i iachâu*" cyn y gallasai waredu pechaduriaid o grafangau, ïe o ddannedd, y fath anghenfilod galluog, ac anhawdd eu digoni.

Eto, y mae dyn yn cael ei ddesgrifio yn y gair sanctaidd fel *drwgweithredwr* dan ddedfryd marwolaeth. Y mae "barn wedi dyfod ar bob dyn i gondemniad." "Yr hwn nid yw yn credu a ddamniwyd eisoes." "Nyni a brofasom o'r blaen fod pawb, Iuddewon a Groegwyr, dan bechod;" hyny yw, yr ydym wedi profi o gofrestr llys y Nefoedd fod pawb yn euog, ac wedi eu dedfrydu i farwolaeth dragywyddol. Yno y mae yn ysgrifenedig, "Nid oes neb cyfiawn, nac oes un." "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Yn awr, y mae y ddedfryd a gyhoeddir fel hyn yn erbyn dyn yn hollol gyfiawn ac anghyfnewidiol, er ei bod yn drosglwyddadwy; ac yn wir y mae yn cynnwys, yn ei natur, gosbedigaeth anfeidrol. Yma gellwch yn hawdd ganfod, fod yn rhaid fod Crist yn "*gadarn i iachâu*," cyn y buasai yn bosibl iddo ddyoddef cosb anfeidrol mewn cylch penodol o amser.

2. Yr ydym yn sylwi *fod sefyllfa dyn wrth natur yn sefyllfa o dlodi, iselder, ac o drueni.* Yn awr, fy nghydbechaduriaid, na thybiwch fy mod yn son yn unig am y Paganiaid tywyll, am lwythau gwylltion Affrica, am dylwythau crwydrol Arabia, am yr Indiaid creulawn a barbaraidd, am y werin isel a thruenus sydd o'ch cwmpas. Na, na, "*tydi yw y gŵr!*" Er ymdroi mewn cyfoeth a llawnder, er llenwi sefyllfa anrhydeddus mewn cymdeithas, er dy addurno â gwybodaeth a dysgeidiaeth; eto, mewn ystyr foesol, yr wyt mewn cyflwr o *dlodi, iselder, a thrueni.* Mae

yn bosibl dy fod yn anymwybyddus o hyn, ond mewn gwirionedd dyma yw dy sefyllfa. Y mae dyn wedi ei ddinystrio mewn modd mor ofnadwy trwy bechod, fel y mae yr Ysbryd Glân yn defnyddio y cymhariaethau mwyaf tarawiadol a bywiog i'w ddangos allan. Desgrifir ef fel yn *wahanglwyfus*. Y mae gwahanglwyf yn afiechyd nas gellir ei iachâu trwy offerynoliaeth dynol. Y mae doethineb a dyfais dyn wedi profi eu hunain yn rhy wan i orchfygu ei ddinystr marwol; ond mae Iachawdwr eneidiau mor alluog mewn dyfais a doethineb, fel ag y mae wedi trefnu meddyginiaeth anffaeledig i iachâu gwahanglwyf pechod. Dywedir am ddyn, ymhellach, ei fod yn ddall, ac yn farw. Y mae wedi ei eni yn ddall. Y mae ei noethder y fath, fel nas gallasai unrhyw ddeall crëedig feddwl am yr un ffordd i'w guddio a'i wisgo. Mae yn farw mewn camweddau a phechodau, fel ag y mae wedi ei orchuddio gan bryfaid aflan a ffiaidd llygredigaeth. Yn awr, y mae yn rhaid fod y Gwaredwr yn *gadarn* mewn gallu a dyfais, onidê nis gallasai byth agor llygaid dyn oedd wedi ei eni mewn dallineb moesol. Mae yn rhaid ei fod yn *gadarn* yn ei waith, onidê nis gallasai barotôi gwisg o gyfiawnder i guddio noethder euogrwydd dyn oddiwrth lygaid y Duw sydd yn gweled pob peth, ac yn chwilio pob calon. Y mae yn rhaid ei fod yn *gadarn* mewn gallu ac awdurdod, onidê nis gallasai waredu dyn o afaelion cryfion marwolaeth ysbrydol, a'i ddwyn i fwynhâd o fywyd, o sancteiddrwydd, a dedwyddwch.

Eto, darlunir dyn fel dyledwr, carcharor, ac fel caethwas. Y mae ei ddyledion yn anfeidrol uwchlaw ei allu i dalu. Mae yn fethdalwr moesol, ac nid oes ganddo ddim i dalu. Y mae yn garcharor wedi ei daflu yn gyfreithlawn i gadwraeth cyfiawnder Dwyfol. O'i ran ei hun, y mae ei holl obeithion wedi eu tori ymaith; ac heblaw hyny, y mae wedi ei ddarostwng i gyflwr o gaethiwed, gan ei fod yn gaethwas gwirfoddol i Satan, yr hwn sydd yn ei ddal yn gaeth yn ol ei ewyllys. Yn awr, y mae yn rhaid fod y Gwaredwr yn *alluog* mewn cyfoeth; y mae yn rhaid fod trysorau ei haeddiant yn anhyspyddadwy, onidê nis gallasai dalu dyled anferthol dynion. Mae yn rhaid fod ei Iawn yn gadarn mewn rhinwedd a gwerth, onidê nis gallasai byth foddloni gofynion cyfiawnder Dwyfol fel ag i ryddhâu carcharor; ac y mae yn rhaid ei fod yn gadarn mewn

nerth a dylanwad, onidê nis gallasai ddyrysu nerth Satan, ac ennill drosodd galon y caethwas truan i'w wasanaeth sanctaidd ei hunan.

3. Sylwn *fod sefyllfa naturiol dyn yn sefyllfa o anallu moesol.* Gyda golwg ar hyn, dywed Apostol mawr y Cenedloedd, "Canys pan oeddym ni eto yn *weiniaid,* Crist mewn pryd a fu farw drosom." Y mae yn hollol analluog i waredu ei hunan. Y mae wedi colli delw Duw, ac o ganlyniad wedi colli ei brydferthwch a'i ragoriaeth ei hunan; ac nis gall ddyfod o hyd i ddim a wna yn ei le; mewn dim o'i ddyfais a'i gelfyddyd ei hunan, nac yn yr un o'r rhinweddau y mae yn tybied ei fod yn feddiannol arnynt. Mae wedi colli ei ryddid ysbrydol, ac o ganlyniad wedi colli elfenau ei ddedwyddwch, ac nis gall eu hadbrynu trwy unrhyw aberth o'i eiddo. "Gwerthfawr yw pryniad eu henaid, a hyny a baid byth." Mae wedi colli ffafr Duw, a thrwy hyny wedi colli pob hawl i amddiffyn ei Wneuthurwr, ac y mae yn annhraethol uwchlaw ei natur i adennill y golled fawr a gafodd dyn trwy bechod. Y mae yn ddigon i wneuthur i angelion wylo! Ato ef y gellir cymhwyso cri ddolefus Jeremiah uwchben anrhaith y deml a Jerusalem: "Pa fodd y tywyllodd yr aur! y newidiodd yr aur coeth da! taflwyd cèryg y cysegr ynmhen pob heol!" Onid ydyw yn wirioneddol alarus a thorcalonus gweled rhaglaw Duw ar y ddaear yn gaethwas isel i Satan; y crëadur uchel ac anrhydeddus—dyn—yn cyflawni y swyddau mwyaf isel, aflan, a ffiaidd; yr hwn a wisgai goron ddrudfawr a dysglaer dedwyddwch a sancteiddrwydd, wedi ei daflu i bydew anmhurdeb, llygredigaeth, a thrueni; yr hwn a grëwyd ar ddelw Duw wedi ei newid i ddelw y Diafol?

4. Agwedd alarus arall ar gyflwr dyn wrth natur, ydyw *ei ddideimladrwydd i'w drueni.* Nid yw yn teimlo y perygl y mae ynddo. Y mae y nodwedd yma o'i sefyllfa, yn ei ddangos mewn golwg mwy truenus a galarus eto. Er ei fod dan awdurdod Satan fel caethwas, yn meddiant teyrn didrugaredd, eto y mae yn hollol ddideimlad o iselder ei sefyllfa. Er ei fod yn sefyll, megys, ar ymylon colledigaeth dragywyddol, eto y mae yn ddideimlad o'i berygl ofnadwy. Y mae yn cysgu o dan ddylanwad anghof a llonyddwch moesol. Er fod afiechyd dinystriol pechod yn cyflym ddifa ei enaid, eto nid ydyw yn teimlo ei ddinystr.

Y mae yn dyoddef dan y clefyd ofnadwy o orphwylliad ysbrydol. Y mae yn chwerthin yn ddiofal a difeddwl uwchben pethau a ddylai wneuthur iddo wylo yn chwerw dost. Y mae yn gwawdio ac yn diystyru gwirioneddau a ddylent ei orchfygu gan ofn a chryndod. Y mae yn ymddwyn yn hollol ddiystyrllyd at y pethau a allent fod yn lles sylweddol a thragywyddol i'w enaid. Mewn ystyr foesol, y mae wedi colli ei bwyll.

Dyma wir agweddau cyflwr dyn wrth natur. Syrthiodd! syrthiodd! pa beth a ddaw o hono? A roddwn ni ef i fyny i bydew trueni anadferadwy? Na wnawn. A oes gobaith am ei adferiad? Oes. Edrych! gwel! sylla! "Pwy yw Hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bozrah? Hwn sydd hardd yn ei wisg, yn ymdaith yn amlder ei rym? yn gadarn i iachâu?" Clyw, O nefoedd! a gwrando, O ddaear! canys y mae y Person gogoneddus ei hunan yn ateb gydag awdurdod, "Myfi, yr Hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, ac wyf gadarn i iachâu."

Mae hyn yn naturiol yn ein harwain i'r hyn a osodir allan yn y testun, sef,

II. Hollddigonolrwydd gallu Crist i waredu dyn o'i sefyllfa golledig a dinystriol: "Cadarn i iachâu." Yn awr, sylwch ar allu Crist i achub y rhai colledig a thruenus. Y mae hyn yn amlwg, os ystyriwn y tri pheth canlynol:—

1. *Ei gymhwysderau tra goruchel fel Gwaredwr.*

2. *Natur a helaethder yr iachawdwriaeth a weinyddir ganddo.*

3. *Yr esiamplau o'i allu achubol fel y maent yn cael eu harddangos i ni yn yr Ysgrythyrau.*

1. Y mae yn "gadarn i iachâu" *o herwydd fod ei gymhwysderau i'r gwaith mawr yn anghymharol.* Y maent yn ddeublyg: ei gymhwysderau *personol,* a'i gymhwysderau *swyddol.*

Gadewch i ni, yn gyntaf, sylwi ar ei gymhwysderau *personol.* "Mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd," mewn trefn i geisio a chadw yr hyn a gollesid. Y mae Duw a dyn wedi eu hûno â'u gilydd yn ei Berson. Y mae Mab Duw wedi dyfod yn Fab dyn. Y mae y natur uchaf yn y nef, a'r natur fwyaf rhagorol ar y ddaear, wedi eu cysylltu â'u gilydd. I ba

ddyben? Fel y byddai "gadarn i iachâu." Nefoedd a daear, amser a thragywyddoldeb, meidroldeb ac anfeidroldeb, y Crëawdwr a'r crëadur, wedi eu hûno yn anwahanol yn ei Berson. Y mae yn rhaid ei fod yn "gadarn i iachâu." Fel dyn yr oedd yn alluog i ddyoddef a marw; canys "heb dywallt gwaed nid oes maddeuant." Fel Duw, yr oedd yn ddigon abl a nerthol i ddal pwysau anferthol digofaint ei Dad—baich a fuasai, yn anocheladwy, yn llethu yr holl hiliogaeth ddynol, ïe holl grëadigaeth resymol Duw pe daethai dano, i ddyfnderoedd isaf uffern. Fel dyn, yr oedd yn alluog i farw drosom ac yn ein lle; fel Duw, yr oedd yn alluog i roddi rhinwedd a haeddiant anfeidrol yn ei angeu. Fel dyn, fe aeth i mewn i diriogaethau angeu, ac a oddefodd i frenin y dychryniadau ei rwymo yn ei gadwynau haiarnaidd; fel Duw, fe'u torodd fel llin a losgasid yn y tân, ac fe gyfododd yn fuddugoliaethus o'r bedd, wedi yspeilio llywydd y carchar o'r agoriadau. "Y mae genyf," meddai, "agoriadau uffern a marwolaeth!"

Gadewch i ni edrych eto ar ei gymhwysderau *swyddol*. Fe gynnaliodd swydd Gwaredwr trwy apwyntiad Dwyfol. Y mae wedi ei ddewis a'i awdurdodi i achub gan Benllywodraethwr y grëadigaeth. O herwydd hyn y dywed ei fod wedi ei eneinio a'i anfon i "rwymo y rhai ysig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym; i gyhoeddi blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd, a dydd dial ein Duw ni; i gysuro pob galarus; i osod i alarwyr Sïon, ac i roddi iddynt ogoniant yn lle lludw, olew llawenydd yn lle galar, gwisg moliant yn lle ysbryd cystuddiedig; fel y gelwid hwynt yn Brenau cyfiawnder, yn Blanigyn yr Arglwydd, fel y gogonedder Ef" (Esa. lxi. 1—3). Y mae wedi derbyn ei freinlen gan yr awdurdod uchaf. Y mae gallu swyddol wedi ei ddodi ynddo. Y mae awdurdod uchaf gorsedd dderchafedig Duw yn aros gydag Ef, ac o herwydd hyn arddangosir iachawdwriaeth pechadur dan yr arwyddlun o "afon bur o ddwfr y bywyd, yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen." Fe ymddangosodd ar y ddaear i'r amcan goruchel o ddinystrio gweithredoedd y diafol; ac heblaw hyny y mae wedi cwblhâu y cyfan oedd yn anghenrheidiol o ran haeddiant i achub pechaduriaid. Y mae wedi "mawrhâu y gyfraith, a'i gwneuthur yn anrhydeddus."

Y mae wedi dyoddef y gosbedigaeth oedd yn ddyledus i bechod, a thrwy hyny fe ddaeth yn Iawn dros bechod. Fe ennillodd fuddugoliaeth ar elynion ysbrydol dyn; fe ddiddymodd angeu; ac fe esgynodd i'r nefoedd fel buddugoliaethwr galluog, i "eiriol dros y troseddwyr." Y mae y gwaith mawr y mae eisoes wedi ei gyflawni yn rhagbarotöawl i'n hiachawdwriaeth, yn brawf penderfynol i'r holl grëadigaeth resymol ei fod yn "gadarn i iachâu." Y mae cythreuliaid wedi sylweddoli ëangder annhraethadwy ei allu gorchfygol; y mae angelion wedi bod yn dystion synedig o fawredd tra rhagorol ei ddaioni gwaredigol; ac y mae y Tad yn ymogoneddu yn orfoleddus yn yr amlygiadau gogoneddus o'i allu i'w gwaredu, gan ddywedyd, "Gosodais gymhorth ar Un cadarn."

2. *Y mae natur a helaethder y waredigaeth a weinyddir ganddo yn brawf anwadadwy ei fod yn "gadarn i iachâu."*

Y mae yn gadarn i iachâu, yn y lle cyntaf, oddiwrth felldith y ddeddf: "Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom." Y mae gallu anfeidrol wedi ei gorffori yn melldith Duw. Yr oedd yn ddigon galluog i hyrddio llengau o angelion o uchder dedwyddwch y nef, a'u suddo i ddyfnderoedd trueni uffern. Yr oedd yn ddigon galluog i agor ffenestri y nefoedd âg un llaw, a chyda'r llall i dori ffynnonau y dyfnder mawr, mewn trefn i foddi byd gwrthryfelgar â diluw gorlifol. Y mae yn ddigon galluog i ddwyn dinystr anadferadwy, mewn amrantiad llygad, ar holl luoedd gwrthryfelgar llywodraeth ëang y Jehofah. Heblaw hyny, pan y torodd ei gwmwl tanllyd uwchben y Gwaredwr, daeth i gyffyrddiad â gallu oedd yn drech nag ef, yn gymaint ag y diffoddwyd ei fflamau dinystriol gan ei waed; a'i waith yn awr ydyw cipio pechaduriaid megys pentewynion o'r gynneu dân.

Y mae yn hollalluog i waredu odditan arglwyddiaeth halogedigaeth a llygredigaeth. Y mae yn gwaredu, nid yn unig oddiwrth euogrwydd pechod cynnwysedig yn melldith y ddeddf, ond hefyd oddiwrth allu teyrnasol a dylanwad heintus pechod. Y mae nerth llygredigaeth dyn yn ddychrynllyd, am hyny y gelwir ef yn "*ddeddf* pechod a marwolaeth." Y mae ei allu yn anorchfygadwy gan unrhyw ddyfais a nerth dynol. Y mae pechod yn gryfach na galluoedd cryfion a pherswadiol rheswm, yn

gryfach na phangfëydd ac ing cydwybod euog, yn gryfach na chylymau tynion y cyfeillgarwch anwylaf, yn gryfach nag attalfëydd grymus gwybodaeth, yn gryfach na chyfreithiau gorfodol breninoedd y ddaear, ïe y mae wedi goroesi barnedigaethau ofnadwy a difäol y Jehofah ei hunan. Y mae yn llyffetheirio dynion yn ei gadwynau haiarnaidd, er gwaethaf goleuni rheswm, er gwaethaf holl gyhuddiadau cydwybod, er gwaethaf dagrau halltaf cyfeillion a pherthynasau anwylaf, er gwaethaf parchedigaeth ac enwogrwydd, er gwaethaf ymdrechion athronwyr i wellhâu y byd, a chynnydd cyflym gwybodaeth, er gwaethaf gosodiadau pendant llywodraethau dynol, ïe er gwaethaf gwg a dialedd y llywodraeth Ddwyfol. Fy nghydbechadur! gwylia rhag gallu twyllodrus a dinystriol pechod, onidê fe'th lusga i'r pydew diwaelod o ganol dy gysuron daearol! Ond "Pwy yw Hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bozrah?" Iesu yw ei enw. Ah! y mae yn fwy galluog na phechod ei hunan, oblegid "Efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau. "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ar y ddaear tangnefedd, ac i ddynion ewyllys da." "Ein Gwaredwr sydd gryf; Arglwydd y lluoedd yw ei enw."

Y mae yn hollalluog i waredu oddiwrth allu a malais Satan. Gyda chyfeiriad at hyn y dywed yr Apostol am dano ei hunan ac am ei frodyr, "Yr Hwn a'n gwaredodd o feddiant y tywyllwch, ac a'n symudodd i deyrnas ei anwyl Fab." Darlunir Satan dan yr arwyddluniau o ddyn cryf-arfog, ac o lew rhuadwy. Fel y cryf-arfog, y mae yn wyliadwrus a gofalus yn cadw ei neuadd yn nghalon dyn diadgenedledig. Ond, bendigedig fyddo Duw! y mae yr Iesu yn gryfach nag ef. Y mae yn dyfod arno yn ngherbyd yr efengyl, yn *stormio* ei balas â chyflegrau argyhoeddiad, yn gorchfygu y gormesdeyrn, yn ei ŷru allan, yn rhanu ei yspail, yn cymeryd meddiant o'r palas, ac o hyn allan yn trigo ynddo trwy ei Ysbryd.

Y mae yn hollalluog i waredu oddiwrth golyn angeu, gallu y bedd, a'r digofaint sydd ar ddyfod. Concwerwr galluog ydyw angeu. Y mae, nid yn unig yn "frenin dychryniadau," ond yn ddychryn i freninoedd. Y mae, mewn modd anwrthwynebol, wedi gyru breninoedd mwyaf galluog a fu erioed ar y ddaear o'u palasau breninol i'r "tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw." Y mae wedi ennill

buddugoliaeth fawr ar y concwerwyr mwyaf enwog a ddangosasant eu dyfais erioed ar faes y gwaed, ac wedi rhoddi eu cyrff llygredig yn ymborth i bryfed. Y mae y cewri cryfaf, a enwogasant eu hunain trwy eu gwrolder a'u nerth anwrthwynebol, wedi eu malurio i'r llwch trwy ei ddwylaw galluog ac oerion. Ac heblaw hyny, y mae ganddo golyn gwenwynig, â'r hwn y mae yn gwenwyno yr enaid i ddinystr anadferadwy. A'r bedd ydyw y carchar cryf yn yr hwn mae yn carcharu y teulu dynol. Yno y maent yn cael eu gosod i lawr a'u cloi i fyny, wedi eu rhwymo yn nghadwynau marwoldeb, tra y mae gallu digofaint Duw yn abl i ddifa holl ffynnonau cysur yr enaid, ac i beri iddo wylo a galaru trwy holl oesoedd y tragywyddoldeb mawr! Ond gwrandewch, y mae Un mwy nag angeu na'r bedd yma! Yma hefyd y mae Un yr hwn y mae y cymmod a wnaeth yn noddfa ddigonol rhag ystorm ddinystriol digofaint Duw! Y mae wedi buddugoliaethu ar y naill, ac wedi cwbl heddychu y llall. Y mae yn llefain allan, gyda golwg ar ei bobl, "O law y bedd yr achubaf hwynt; oddiwrth angeu y gwaredaf hwynt: byddaf angeu i ti, O angeu! byddaf dranc i ti, y bedd!"

Yn olaf, y mae yr iachawdwriaeth a weinyddir ganddo i gredinwyr, yn cynnwys dyrchafiad yr enaid i fwynhâd llawn a thragywyddol o wynfyd a gogoniant y nef, adgyfodiad y corff o'r bedd, a'u cydogoneddiad yn nhrigfanau anfarwoldeb a llawenydd. "Yr Hwn a gyfnewidia ein corff gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf a'i gorff gogoneddus Ef, yn ol y nerthol weithrediad trwy yr hwn y dichon Efe, ïe ddarostwng pob peth iddo ei hun."

3. *Edrychwn ar yr esiamplau a ddangosir i ni o'i allu achubol yn yr Ysgrythyrau.* Ni a'u dosbarthwn hwynt o dan dri o ddosbarthiadau: pechaduriaid o bob *gradd a sefyllfa*—pechaduriaid o bob math o *gymeriadau*—a phechaduriaid ymhob math o *amgylchiad ac anghen.*

Y mae wedi achub pechaduriaid o bob *gradd a sefyllfa.* Ni chrybwyllwn ond un enghraifft yn unig o bob rhyw. Y mae wedi achub brenin—Dafydd, brenin Israel. Y mae wedi achub tywysog—Abiah, mab Jeroboam. Y mae wedi achub prifweinidog—Daniel, yn llys y Caldëaid. Y mae wedi achub prifraglaw—Joseph, yn yr Aipht. Y mae wedi achub canghellydd y drysorfa—yr eunuch,

galluog o dan Candace, brenines Ethiopia. Y mae wedi achub aelod seneddol—Nicodemus. Y mae wedi achub ystafellydd dinas freninol—Aratus. Y mae wedi achub cynghorwr—Joseph o Arimathea. Y mae wedi achub cyfreithiwr—Zenas. Y mae wedi achub meddyg—Luc. Y mae wedi achub myfyriwr mewn athrofa—Saul o Tarsis. Y mae wedi achub casglwr trethi—Zaccheus. Y mae wedi achub un oedd yn y dollfa—Matthew. Y mae wedi achub gweithiwr—Acquila. Y mae wedi achub ceidwad carchar—yr un yn Philippi. Y mae wedi achub gwas anffyddlawn—Onesimus. Y mae wedi achub cardotyn—Lazarus. "Cadarn i iachâu!"

Y mae wedi achub pechaduriaid o bob math o *gymeriadau*. Y mae wedi achub eilunaddolwr—Manasseh. Y mae wedi achub pleserddyn—Solomon. Y mae wedi achub bydolddyn—Zaccheus. Y mae wedi achub cablwr ac erlidiwr—Saul o Tarsis. Y mae wedi achub gwrthgiliwr—Thomas. Y mae wedi achub putain—y wraig o Samaria. Y mae wedi achub lleidr—y lleidr ar y groes. Y mae wedi achub llofruddion, ïe ei lofruddion ei hunan. Yr oedd ei waed yn ddigon rhinweddol i olchi ymaith yr ystaen o euogrwydd oedd ar eu cydwybodau o herwydd tywallt ei waed diniwed Ef ei hunan. Y mae yn fwy na thebyg fod llawer o'i lofruddwyr yn nifer y tair mil a achubwyd ar ddydd y Pentecost. Sylwch am foment ar y desgrifiad a roddir o gymeriad y rhai a achubwyd ganddo yn Corinth: godinebwyr, eilunaddolwyr, torwyr priodas, masweddwyr, gwrywgydwyr, lladron, cybyddion, meddwon, difenwyr, cribddeilwyr. "A hyn," meddai yr Apostol, "fu rhai o honoch chwi: eithr chwi a olchwyd; eithr chwi a sancteiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni." "Cadarn i iachâu!"

Y mae yn alluog i achub ymhob *amgylchiad ac anghen*. Fe achubodd Pedr o grafangau dinystriol y llew rhuadwy. Fe achubodd Solomon o afael swyn twyllodrus pleserau cnawdol. Fe achubodd Daniel o ffau y llewod. Fe achubodd Shadrach, Mesach, ac Abednego, o'r ffwrnais danllyd. Y fath ydoedd yr amlygiadau o'i allu ar eu rhan, fel ar y naill law y gorchymynodd i'r elfen ddinystriol ddifa eu rhwymau a'u llyffetheiriau, ond ar y llaw arall fe'i rhwystrodd i ddeifio cymaint a blewyn o wallt

eu penau, ac hyd yn nôd i roddi ei arogl ar eu dillad. Nid oedd gan y tân ddim gallu arnynt, am fod y Gwaredwr galluog yn bresennol gyda hwynt. Fe waredodd Jonah o fol y morfil. Fe waredodd y lleidr ar y groes o enau dinystr, ac a gipiodd ei enaid i baradwys, fel cofarwydd o'i fuddugoliaeth ar alluoedd y tywyllwch. Mewn gair, ni amlygir mawredd ei allu a'i gadernid nes yr arddangosir y gwaredigion, yn dyrfa na ddichon neb ei rhifo, i'r grëadigaeth resymol yn y dydd diweddaf.

Ond pa beth sydd yn anghenrheidiol mewn trefn i sylweddoli gallu achubol Crist yn ein heneidiau ein hunain? Y mae yn rhaid i ni ymdeimlo â'n sefyllfa golledig a dinystriol. Y mae yn rhaid i ni ymwrthod â phob ymddiried mewn haeddiant dynol, a rhoddi ein hunain i fyny fel pechaduriaid, sydd yn haeddu bod yn uffern, i'w ofal a'i gadwraeth. Rhodded Duw i ni galon i gredu ynddo, gan fod yn gwbl sicr ei fod yn "abl i gadw yr hyn a rodded ato i'w gadw erbyn y dydd hwnw!" Amen.

# PREGETH XIII.

## YR YSGRYTHYR WEDI EI RHODDI GAN YSBRYDOLIAETH DUW.

## GAN Y PARCH. D. CHARLES DAVIES, M.A., LLUNDAIN.

"Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder."—2 TIMOTHEUS iii. 16.

Y MAE Paul, yn y bennod hon, yn gosod ger bron Timotheus yn gyntaf yr anhawsderau, ac yn ail y cymhelliadau, i aros o ran ei fyfyrdod, ei broffes, a'i weinidogaeth, yn ngwirioneddau'r efengyl. Y mae yn dosbarthu yr anhawsderau i ddau fath—rhagrithwyr o fewn yr eglwys, a gelynion cyhoeddus, erlidgar, tu allan i'r eglwys. A chan fod y ddau ddosbarth yn deall eu gilydd ac yn cydweithio, mwyaf oedd yr anghenrheidrwydd i Timotheus am benderfyniad ac ymdrech i aros yn ddiysgog yn y pethau a gredodd. Ond pa mor fawr bynag yw yr anhawsderau, y mae y cymhelliadau i aros yn fwy; yn *fwy*, yn gymaint a bod Duw yn cymhell, ac yn gymhelliad ei hunan, tra y mae yr anhawsderau yn gwbl o ddynion.

Y cymhelliad cyntaf y mae yn enwi, yw sefyllfa gyfrifol Timotheus i Dduw am yr efengyl, fel peth a ymddiriedwyd iddo gan Dduw: "Aros yn y pethau yr ymddiriedwyd i ti am danynt." 'Timotheus, dynion sydd yn erlid, Duw fydd yn barnu. Aros yn y pethau, gan deimlo pwys yr ymddiried.' Yna y mae yn gosod ei fys ar deimladau tyneraf Timotheus fel dyn: "Gan wybod gan *bwy* y dysgaist," mewn cyfeiriad at ei nain Lois a'i fam Eunice, y rhai a'i dysgasant pan "yn fachgen" yn yr Ysgrythyr. Nid ei gymhell y mae i gredu yr efengyl am fod ei nain a'i fam wedi ei chredu o'i flaen, ond i aros yn yr efengyl a gredodd ar sail ei gwirionedd ei hun, gan deimlo fod ei nain a'i fam wedi ei chredu ar yr un sail ag yntau, ac wedi ei addysgu yn yr Ysgrythyr sydd yn ei chynnwys.

Ei gymhelliadau nesaf ydynt, ragoriaethau yr Ysgrythyr. Y mae yn enwi pedwar o honynt: ei phurdeb —"Ysgrythyr lân" ydyw; ei gallu, neu ei chymhwysder yn llaw yr Ysbryd, i wneuthur y ffol yn ddoeth i'w iachawdwriaeth ei hun, trwy ffydd yn Nghrist, neu i wneuthur credadyn yn ddoeth i ennill eneidiau at yr Iesu er iachawdwriaeth iddynt; ei Hawdwr—"ysbrydoliaeth Duw;" a'i buddioldeb i berffeithio dyn Duw i bob gweithred dda.

Fe ddangosir yma, fod yr Ysgrythyr yn gymhwys fel moddion yn llaw Duw i'r amcan oedd mewn golwg. Nid oedd cymhwysder mewn cyrn hyrddod, nac yn ngwaith yr offeiriaid yn lleisio trwyddynt, i ddymchwelyd caerau Jericho. Nid oedd cymhwysder mewn clai wedi ei iro ar lygaid dyn dall, nac yn ymolchiad y dall mewn canlyniad, i roddi golwg. Tra y mae yr Ysgrythyr lân, nid yn unig yn foddion yn llaw Duw, ond hefyd yn meddu ar y fath gymhwysder i'r amcan, ag y gellir ysgrifenu am dani ei bod yn "abl" i wneuthur y ffol yn ddoeth, ac yn "fuddiol" i wneuthur dyn Duw yn berffaith. Ond nid yw cymhwysder yr Ysgrythyr, fel moddion iachawdwriaeth, yn cymylu i'r graddau lleiaf ogoniant Duw fel Awdwr iachawdwriaeth: o herwydd, yn gyntaf, efe ei hun a wnaeth yr Ysgrythyr yn gymhwys, ac a osododd bob rhagoriaeth arni; ac yn ail, Efe yn unig a fedr ei bendithio i droi calonau annuwiolion, ac i berffeithio ei bobl ymhob gras.

Am hyny, pa mor aml, a pha mor wych bynag, a fyddo'r offerynau a ddefnyddir gan Dduw i gyrhaedd unrhyw amcan, nid yw ei ogoniant yn llai dysglaer. Pan y mae y bwriad Dwyfol a gorpheniad y gwaith mewn cysylltiad digyfrwng â'u gilydd, fe addefir mawredd Duw fel gweithiwr, ac fe allai y bydd yr olwg ar y mawredd yn cynnyrchu yn mynwes yr edrychydd syndod tebyg i addoliad; ond bwriwch fod y bwriad draw yn nhragywyddoldeb cyn seiliad y byd, a gorpheniad y gwaith draw yn nhragywyddoldeb ar ol y dydd diweddaf, a bod myrdd o ddolenau rhyngddynt, cynifer ag sydd o flynyddau yn oes y byd, eto os Duw a ffurfiodd bob dolen, ac a'u cysylltodd â'u gilydd, y mae hŷd y gadwen nid yn lleihâu, ond yn arddangos, gogoniant ei ddoethineb a'i ddaioni. Pan y crëodd y byd, bwriad yn Nuw a byd wedi ei grëu oedd y

ddwy ddolen, heb yr un rhyngddynt, càn belled ag y gwyddom ni. Pan y gwnaeth ddyn, ni ddywedodd "Bydded," nes i ddyn yn y fan sefyll ar ei draed wedi ei gwbl orphen, ond fe'i lluniodd o bridd y ddaear, ac fe anadlodd yn ei ffroenau ef anadl einioes; "a'r dyn a aeth yn enaid byw." Er hyny, yr oedd mor ogoneddus yn nghrëadigaeth dyn ag ydoedd yn nghrëadigaeth y byd. Oblegid os o bridd y gwnaeth y corff, o ba le y cafodd y pridd? Efe ei hun a'i crëodd. Ac ar ol crëu y pridd, Efe yn unig a allodd wneuthur corff o hono.

Pan yr oedd Mab Duw yn porthi y miloedd dynion â'r ychydig fara a physgod, fe welir ewyllys Duw, a digon i'r bobl, yn ddwy ddolen gysylltiedig, heb yr un drydedd rhyngddynt. Nid felly y mae yn ein porthi ni bob dydd. Y ddaear sydd yn dwyn ffrwyth; yr haul sydd yn ei chynhesu, a'r cymylau sydd yn ei thyneru; y mae tymmorau hau a medi yn cael eu hachosi gan dröad y ddaear; dynion sydd yn hau ac yn medi. Ac y mae ffrwyth y ddaear yn cael ei daflu o law i law, ac yn derbyn rhyw gyfnewidiad ymhob llaw, nes y mae yr hyn oedd ychydig amser yn ol yn ŷd ar y maesydd, yn awr yn dorthau parod i'w bwyta ar y bwrdd. Ond Duw ei hun a ffurfiodd yr holl gysylltiadau. Ei "fydded" Ef a grëodd y ddaear; Efe a osododd yr haul yn y ffurfafen; Efe yw tad pob cawod o wlaw; Efe a osododd y deddfau, trwy y rhai y sicrhëir cysondeb parhâus y tymmorau; Efe a osododd synwyr yn mhen, a nerth yn mreichiau dynion, i gasglu yr ŷd ac i'w droi yn fara. Am hyny ni a ddylem ofyn yn y bore, "Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol," a diolch yn yr hwyr am dano, mor wresog a phe buasem yn rhai o'r pum' mil a borthwyd yn wyrthiol.

Trwy foddion y mae Duw yn cymhwyso yr iachawdwriaeth at galon pechadur, sef yr Ysgrythyr. Trwy foddion yr ysgrifenodd yr Ysgrythyr: "Dynion sanctaidd Duw a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân." Yr oedd y dynion hyn yn rhai hynod yn eu hoes. Yr oedd Moses, awdwr y pum' llyfr cyntaf, yn ddysgedig yn holl ddoethineb yr Aiphtiaid, ac yn meddu ar liaws o gymhwysderau arweinydd i'r genedl. Yr oedd doethineb Solomon yn fwy na doethineb holl feibion y dwyrain, ac na holl ddoethineb yr Aipht. Yr oedd Paul fel dyn yn meddu ar feddwl galluog, coeth, tanbaid. Yr oedd yn ymadroddwr

mor fedrus, fel y galwodd trigolion Lystra ef yn Mercurius, ac fel y buasent yn aberthu iddo ef a Barnabas, fel duwiau yn rhith dynion, pe cawsent. Ac y mae y cyfarfyddiad o ddyfnder ac ëangder yn ysgrifeniadau Ioan yn ei brofi yn ddyn o'r meddwl galluocaf. Ond yr oedd ei agosrwydd at yr Iesu yn peri fod ei oleuni yn cael ei guddio gan ddysgleirdeb yr Haul mawr. Ac yn ymyl yr Iesu, y mae y mwyaf o ysgrifenwyr y Bibl—pwy bynag ydyw—yn ymddangos yn ddyn cyffredin; tra yn ymyl eraill, y maent i gyd yn ddynion galluog. Ond nid yw hyn yn iselu Duw, oblegid Efe a'u gwnaeth yr hyn oeddynt. Ac nid oedd neb parotach i gyfaddef hyny na Paul. Yr oedd ganddo gymhwysderau fel dyn i'w waith, ond "Efe a'm neillduodd i o groth fy mam." Neillduad oedd hwn *ar ol* ei etholedigaeth, o herwydd cyn seiliad y byd yr etholwyd ef; neillduad cyn ei dröedigaeth, o herwydd wedi iddo fyned yn ŵr y tröwyd ef. Yr oedd ganddo gymhwysderau fel Cristion i'w waith, ond "Efe a'm galwodd i trwy ei ras." Yr oedd ganddo gymhwysderau neillduol fel Apostol: "Pan welodd Duw yn dda ddadguddio ei Fab ynof fi, fel y pregethwn Ef ymhlith y Cenedloedd." A phe buasai y rhai a achubwyd trwy ei wrando yn pregethu, neu trwy ddarllen ei lythyrau, yn plygu iddo, neu yn bwrw eu coron o'i flaen, fe fuasai yn rhwygo ei ddillad fel y gwnaeth yn Lystra, gan ddywedyd, "Ha wŷr, paham y gwnewch chwi y pethau hyn? Dyn hefyd ydwyf finnau. Addolwch *Dduw yn unig*. Ger ei fron Ef teflwch eich coronau." Ac yn y nef, fe fydd y gŵr a achubwyd trwy weinidogaeth Paul mor gynhes ei galon, ac mor uchel ei gân o ddiolchgarwch i rad ras y Nefoedd am ei gadw, â'r gŵr a achubwyd trwy y gwaelaf a geisiodd lefaru erioed. Ac y mae Paul ei hun mor barod i roddi'r clod, a'r holl glod, i Dduw am achubiaeth y rhai a achubwyd trwy ei weinidogaeth, ag ydoedd am ei achubiaeth ei hun. "I'r Brenin tragywyddol, anfarwol, anweledig, i'r Duw unig ddoeth, y byddo anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen" (1 Tim. i. 17), oedd ei iaith yn yr olwg ar ei dröedigaeth ei hun; a'r un yw ei iaith wrth edrych ar y sawl a achubwyd trwyddo; ac nid oes neb parotach na hwynt-hwy i ddywedyd Amen ar ei ddodiad diolch. Am hyny nid oes gwahaniaeth pwy a fydd yr offeryn—pa un ai y gwirionedd o enau angel, neu

o enau asyn Balaam, a fendithir, yr un mor ddysglaer yw gogoniant Duw fel awdwr iachawdwriaeth.

Ond er hyny, y mae yr Arglwydd yn aml yn defnyddio moddion a gyfrifir yn wael i gyrhaedd amcanion ei gariad. A'r rheswm y mae Ef ei hunan yn ei roddi am hyny ydyw, "fel na orfoleddai un cnawd ger ei fron Ef." O herwydd tuedd lygredig calon dyn i addoli y crëadur yn hytrach na'r Crëawdwr, ac i beri i wychder yr offeryn guddio oddiwrth y llygad ogoniant yr Hwn a osododd y gwychder arno, y mae yr Arglwydd wedi ymostwng i ddefnyddio pethau ffol, gwan, distadl, dirmygus, a'r pethau nid ydynt, yn offerynau i wneuthur ei ewyllys. Yr Arglwydd o'i ras a'n cadwo rhag gwneuthur dynion yn eilunod i'w haddoli! "Y plant bychain, ymgedwch oddiwrth eilunod."

Dau wirionedd sydd yn yr adnod: gair *Duw* ydyw, a gair *buddiol i ddyn* ydyw. Ac fe gysylltir y ddau wirionedd i ddangos fod ei fuddioldeb i ddyn i'w briodoli i'w Awdwr. I ddangos y cysylltiad, ni a wnawn y sylwadau canlynol.

I. Y MAE YR YSGRYTHYR SYDD YN CYNNWYS HANES TREFN IACHAWDWRIAETH, WEDI EI RHODDI GAN YSBRYDOLIAETH Y DUW A'I LLUNIODD AC A'I CWBLHAODD.

Y mae o'r pwys mwyaf i bechadur fod hanes y drefn, ar yr hon y gwahoddir ef i ymorphwys am ei fywyd tragywyddol, wedi ei hysgrifenu gan Un ag y mae ei wybodaeth o honi yn berffaith, a'i eirwirdeb uwchlaw ammheuaeth. Y mae o gymaint pwys iddo fod yr hanes o honi yn gywir, a'i bod hi ei hunan yn ddigonol, oblegid trwy ddwyn yr enaid a'r hanes i gyffyrddiad â'u gilydd, y mae yr Ysbryd yn dwyn yr enaid i ymorphwys ar Grist. Ond y mae genym yr un sicrwydd am gywirdeb y naill ag sydd am ddigonolrwydd y llall; oblegid y Duw, yr hwn sydd anmhosibl iddo fod yn gelwyddog, a luniodd ac a orphenodd y drefn, ac a ysgrifenodd ei hanes.

Cynllun Duw yw yr iachawdwriaeth. "O'r bobl nid oedd neb gydag Ef" yn ei llunio; ac am hyny o'r bobl nid oes neb gydag Ef i dderbyn y clod. Fe luniodd drefn na allodd ac na allasai neb ei gweithio allan ond Efe ei hun. Ymhlith dynion, gan un y mae y pen i gynllunio, gan arall y mae y fraich i weithio. Fe gynlluniodd yr Arglwydd dabernacl na fuasai yn dyfod i ddy-

chymyg Moses ei hun i feddwl am dano, ac fe roddodd bortreiad o hono ger ei fron ar ben y mynydd; ond er na allasai Moses ei gynllunio, fe allodd Bezaleel ac Aholiab weithio yn ol y cynllun wrth droed y mynydd. Nid oedd gan ddyn y doethineb i lunio, na'r gallu i weithio allan, drefn cadw. Yr oedd Duw yn meddu ar y ddau: y doethineb i gynllunio yn nhragywyddoldeb, a'r gallu, trwy ymwisgo mewn dynoliaeth fel ei ddillad gweithio, i weithio y cynllun allan mewn amser. Ei hunan, hefyd, y gorphenodd y gwaith. Ni ymddiriedodd y gwaith o gadw allan o'i law ei hun: ei hun yn yr ardd; ei hun ar y groes; ei hun yn y tywyllwch; ei hun yn gwaeddi "Gorphenwyd;" ei hun, Efe a orphenodd am byth iachawdwriaeth i golledigion. Ni allasai neb ond Duw dynu y cynllun allan, a'r Tad a wnaeth hyny; ni allasai neb ei orphen, ar ol ei dynu allan, ond Duw, a'r Mab a wnaeth hyny; ni allasai neb ysgrifenu ei hanes yn briodol ac yn gywir ond Duw, a'r Ysbryd a wnaeth hyny. Yma y mae Duw yn son am bethau anwyl ganddo; am y pechaduriaid ag oedd yn garu; am y Mab, Mab ei gariad, yr uniganedig ag oedd yn mynwes y Tad; am drefn ei ras i achub colledigion. Y mae Duw yma yn nghanol pethau ei gariad. Os yw y pechadur sydd yn caru Crist yn hoffi darllen am dano, pa faint oedd hyfrydwch y Duwdod i ysgrifenu am dano? Yr oedd y Tad wrth ei fodd, o herwydd iddo ddyoddef marwolaeth, yn ei goroni yn y nef â gogoniant ac âg anrhydedd; felly y mae yr Ysbryd wrth ei fodd, o herwydd yr un rheswm, yn ei goroni yn y gair. Ni allwn ni ddychymygu yr hoffder, y mwynhâd, y llawenydd, â'r hwn yr ysgrifenodd y Duw mawr am y Person a lanwodd, trwy ei waed, ei feddwl anfeidrol â boddlonrwydd perffaith. Ac y mae hyn yn gwneuthur difaterwch tuag at y Bibl yn bechod yn erbyn Duw. O bechadur! fe gwyd y gair yr wyt yn awr yn ei anghredu, ac yn ei wrthod yn dy ymddygiadau, i dy farnu! Ofnadwy fydd byw byth dan gynnwysiad ei felldithion—heb obaith byth fwynhâu ei addewidion!

Y mae yn yr efengyl lawer o wirioneddau cyn ac uwchlaw profiad, y rhai yr oedd raid i Dduw eu dadguddio, neu i ni fod mewn anwybodaeth am danynt. Fe allai pechadur ddyweyd am *gymhwysiad* yr efengyl i'w galon ei hun; yr oedd raid i Dduw ddyweyd am ddarpariaeth

yr efengyl. Fe allai dyn ddyweyd oddiar deimlad beth yw edrych ar Iesu, ac ymorphwys ar ei aberth; ond yr oedd raid i Dduw ei hun ddyweyd am ei osodiad i'w swyddau, am ei ymgnawdoliad yn ein natur, ac am ei eneiniad â'r Ysbryd Glân. Gobeithiwyf y cawn wybod trwy deimlad beth a fydd cael ein caru gan Dduw i dragywyddoldeb, ond yr oedd rhaid i Dduw ei hun ddyweyd am y caru o dragywyddoldeb. Er fod dirgeledigaethau yn yr efengyl ag oedd raid eu dadguddio gan Dduw ei hun, fe wnawd hyny trwy ddynion ag oeddynt wedi profi effeithiau yr efengyl ar eu hysbrydoedd eu hunain. Dynion *sanctaidd* a ddefnyddiwyd i ysgrifenu ewyllys Duw. Er i ddewin lefaru fel prophwyd, ac er i leidr fod yn un o'r deuddeg, ni chymerodd Duw yr un o'r ddau i drosglwyddo ei feddwl Dwyfol mewn ysgrifen trwyddynt—ond dynion *sanctaidd*. *Dynion* sanctaidd, ac nid *angelion sanctaidd*, a lefarasant dan gynhyrfiad yr Ysbryd Glân. Nid enwau angelion, ond enwau dynion fel ni—Ioan, Paul, Pedr—sydd ar ddalenau ein Bibl. Fe allasai angel ysgrifenu hanes yr hyn a welodd—

> "Mae ffynnon hyfryd, lawn o waed,
> A redodd ar y bryn;
> Y pechaduriaid dua' gaed
> A olchir ynddi 'n wŷn."

'Mi a'i gwelais wedi ei hagor i bechod ac aflendid; mi welais rai o'r aflanaf yn myned iddi, ac yn dyfod allan o honi wedi eu golchi.' Fe ddywedai darllenydd yr hanes, 'Ni fuost ti, angel glân, erioed yn aflan dy hun; ni phoenwyd mo honot gan galon ddrwg o anghrediniaeth, na chan feddyliau crwydredig; ni fuost erioed yn y ffynnon dy hun.' Ioan, a olchwyd ynddi, gaiff ysgrifenu ei hanes, "A gwaed Iesu Grist ei Fab Ef sydd yn ein glanhâu *ni* oddiwrth bob pechod." Nid angel, ond un a fu ei hun yn y rhwymau, gaiff ganmawl y Rhyddhäwr i bechaduriaid: "Deddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhäodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth." "Eithr o achos hyn y cefais drugaredd, fel y dangosai Iesu Grist ynof fi yn gyntaf bob hir-oddef, er siampl i'r rhai a gredant rhagllaw ynddo Ef i fywyd tragywyddol." "Bendigedig," medd Pedr, "fyddo Duw, yr Hwn a'n hadgenedlodd *ni* i obaith bywiol, &c." "O'i wir ewyllys," medd

Iago, "yr ennillodd Efe *ni* trwy air y gwirionedd, &c." Pe buasai edrychydd yn canmawl yr Hwn a adgyfododd Lazarus o feirw, fe gai wrandawiad; ond pe buasai Lazarus ei hun yn ei ganmawl, fe wnai hyny gyda mwy o wres, ac fe dderbyniai wrandawiad mwy astud. Nid angelion fel edrychwyr, ond y rhai a adgyfodwyd i *fywyd* ysbrydol trwy nerth gras yr Iesu, sydd yma yn *dadgan* clod yr Hwn a'u bywhäodd. Y mae yn yr Ysgrythyr, gan hyny, ddwy ffrwd yn rhedeg trwy yr un gwely o eiriau—cariad Duw at drefn ei ras i achub, a chariad dynion at y drefn a'u hachubodd; tystiolaeth yr Hwn a agorodd y ffynnon yn ymarllwys trwy dystiolaeth y rhai a olchwyd ynddi; teimlad y Duwdod trwy deimladau calon ei blant. Os felly, gwae ni oni chredwn yr efengyl! Gair y Digelwyddog yw y dystiolaeth. Fy enaid! cymer Ef ar ei air; plyga i'w Fab! Na wrthod yr unig drefn i achub, er dy ddinystr dy hun!

II. Y MAE YR YSGRYTHYR SYDD YN DANGOS Y FFORDD I GADW ENAID, WEDI EI RHODDI GAN YSBRYDOLIAETH Y DUW A GREODD YR ENAID.

Bwriwn fod Duw wedi ysgrifenu llyfr meddygol, yn cynnwys cyfarwyddiadau i wella'r afiach ac i gryfhâu y gwan; a bod y llyfr yn ein meddiant, wedi ei argraffu yn ein hiaith. Ar ol ei gael, fe dröai y claf ei ddalenau yn ddifrifol ac yn hyderus, gan obeithio iachâd trwy ddilyn ei gynghorion. A sail ei obaith a fyddai, fod y Duw a'i hysgrifenodd yn gwybod natur pob clefyd—ïe, yn well na'r darllenydd claf ei hunan; ei fod uwchlaw twyllo neb ar unrhyw bwnc; ac yn enwedig uwchlaw siomi gŵr claf sydd yn ymddiried yn ei air am ei fywyd. Fe ymofynai y gŵr sydd yn cael ei flino, fel Leah gan lygaid gweiniaid, beth a ddywedodd yr Hwn a luniodd y llygad. Fe chwiliai yr hen ŵr trwm ei glyw, beth a ddywedodd yr Hwn a blanodd y glust. Ac fe fyddai y llyfr meddygol fel llyn Bethesda, yn ymyl yr hwn yr oedd llïaws mawr o rai cleifion, deillion, cloffion, a gwywedigion, yn dysgwyl; gyda hyn o ragoriaeth yn y llyfr ar y llyn,—mai nid yr hwn a elai i mewn yn gyntaf, ond pwy bynag a ddilynai ei gynghorion cyn marw, a äi yn iach o ba glefyd bynag a fyddai arno. Pe blinid rhyw un gan ryw glefyd neu wendid, yn lle arfer ei synwyr digymhorth ei hun, fe ddygai ei reswm mewn ffydd at dystiolaeth y llyfr, i

wybod barn y Meddyg hollwybodol ar y pwnc, ac fe ymdrechai ddilyn ei gyfarwyddiadau, pa faint bynag y costiai iddo eu dilyn, a pha mor groes bynag i'w syniadau blaenorol a fyddai y cyfarwyddiadau. Tybiaeth yw hon, ond y mae yn ffaith bod Duw wedi ysgrifenu llyfr meddygol i iachâu yr enaid. Y mae yr enaid yn ngafaelion pechod, ag sydd yn afiechyd wedi ymwreiddio yn y galon, eisteddle bywyd, ac oddiyno wedi ymledu trwy bob cynnedd, ac oddiyno yn aml yn tori allan yn gornwydydd yn yr ymddygiadau; afiechyd sydd yn cryfhâu yn gyson ac yn barhâus, er fe allai yn ddystaw; ac afiechyd sydd yn sicr, os na attelir ef yn brydlawn, o derfynu mewn marwolaeth; oddiwrth yr hon yr Arglwydd a'n gwaredo! Ond y mae y Duw a grëodd yr enaid yn ei adnabod yn drwyadl, ac wedi ysgrifenu llyfr sydd yn proffesu dangos meddyginiaeth anffaeledig i'w holl glefydau. Yn y llyfr hwn, y mae yn dangos iddo ymaflyd yn ein cyfansoddiad trwy i'n rhieni yn Eden ddal cyfrinach rhy agos â chrëadur o wlad arall ag ydoedd yn ei afaelion—mai gwahanglwyf yw ei natur—ei fod yn cau pawb sydd yn ei afaelion allan o bob daioni a dedwyddwch—ei fod yn ysu yr holl enaid fel cancr—ei fod wedi ymaflyd ymhob cenedl, ac yn rhedeg trwy bob cenedlaeth o ddynion. Ac yma hefyd y ceir hanes y Meddyg anffaeledig. "Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo." "Efe a ddichon yn gwbl iachâu y rhai trwyddo Ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod Ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy." "Megys y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn, fel na choller," nid yr hwn a elo ato yn gyntaf, ond "pwy bynag a gredo ynddo Ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."

Y mae y darluniad o bechod, yn y gair, yn cyfateb yn berffaith i deimlad yr enaid difrifol, goleuedig, o'i weithrediadau. Y mae yn cynnwys, nid darluniad o bechodau cyhoeddus a gwarthus, fel meddwdod, aflendid, llofruddiaeth, y rhai y gallasai hyd yn nôd dyn annuwiol doniol eu darlunio; ond mewn ychydig eiriau—ambell waith mewn un gair—y mae yn rhoddi darluniad bywiog o deimladau dyfnaf a mwyaf dirgelaidd y galon, gyda'r fath gywirdeb, fel y mae yr enaid goleuedig yn canfod ei hun ynddo. Y mae y gydwybod yn tystio fod pob gair yn y Bibl yn wir, ag y mae hi yn alluog i roddi barn arno. Am

bechod; fe ŵyr pechadur oddiar deimlad; am y Gwaredwr, ni all wybod ond trwy ddadguddiad. Y mae fod y darluniad o'i bechod mor gywir, ac yn ateb i'r hyn y mae ei gydwybod ei hun yn tystio am dano, yn sail ddigonol iddo ffoi at y Gwaredwr, gan gredu fod y darluniad o'i ras a'i allu yntau mor gywir. Felly y gwnaeth Crist yn achos y claf o'r parlys. Yr oedd peri i'r claf o'r parlys gyfodi a rhodio yn weledig i'r bobl; yr oedd cyfranu maddeuant iddo yn anweledig. Fe gyflawnodd Crist wyrth, posibl yn unig i Dduw, a gweledig i'r bobl, i'w hargyhoeddi o'i awdurdod i gyflawni gwyrth arall, posibl yn unig i Dduw, ond yn anweledig i'r bobl. Felly y mae yr Ysbryd yn dangos i'r pechadur fod ei galon ef yn ateb i ddarluniad y gair am dani, er mwyn ei arwain i gredu fod y Gwaredwr yn ateb i ddarluniad y gair o hono yntau. Am hyny, ni welaist erioed yr Iesu yn Waredwr, os na theimlaist dy hun yn bechadur. Ni argyhoeddwyd mo honot o gyfiawnder, os na argyhoeddwyd ti o bechod. Oblegid po gywiraf y mae y darluniad o bechod yn ymddangos i bechadur, cryfaf yw y sail iddo gredu fod y darluniad o'r Gwaredwr a'r waredigaeth mor gywir.

III. Y MAE YR YSGRYTHYR SYDD YN DANGOS PA FATH LE YW Y NEFOEDD, A PHA FATH YW NATUR YR HAWL A'R CYMHWYSDER I FYNED YNO, WEDI EI RHODDI GAN YSBRYDOLIAETH Y DUW SYDD YN EI PHRESWYLIO.

Pe buasai yr Arglwydd wedi rhoddi i ddyn y gwaith o ddychymygu nefoedd, ac wedi addaw y cai fyned yno os byddai ei ddychymyg o honi yn gywir, fe fuasai yr ammod yn ei gau allan byth oddiyno. Fe fuasai yr aflan yn meddwl mai dedwyddwch y nef fyddai porthi chwantau anniwair y galon; fe feddyliai y meddwyn am nefoedd o ddiodydd cryfion; y glwth am nefoedd o ddanteithion; y diog am le i fwynhâu digon o esmwythyd corff; a'r hunanol am le cyflëus i ddangos ei hun a chael ei ganmawl. Ac fe fuasai y goreu o ddynion llygredig yn gadael allan elfen fwyaf dedwyddwch y nef, sef ei sancteiddrwydd. Ac hyd yn nôd ar ol i ddyn dderbyn yr hysbysrwydd mai sancteiddrwydd yw prif elfen y nefoedd, y mae ei galon lygredig yn llygadu yn amlach ar yr elfenau llai pwysig, gan anghofio y bwysicaf, ac yn peri ei fod yn teimlo mwy o gysur wrth feddwl am y nefoedd fel lle heb boen nag fel lle heb bechod. Nid oedd raid i ni am nac angel na

sant i hysbysu am y fan, gan fod y Duw sydd yn ei phreswylio, fel Tad wedi ymostwng i roi cipolwg i ni ar ogoniant ei gartref. Ac nid cenedl Israel, na Moses, nac Aaron, ond Duw ei hun, a dynodd allan bortrëiad o'r nef yn y sancteiddiolaf. A chan mai gogoniant Duw ei hun mewn mwynhâd yw y nef, darlunio ei gymeriad ei hun yr ydoedd yn holl ddodrefn y cysegr. Gogoniant Duw oedd haul yr ystafell hono; yno yr oedd y ddeddf bur yn gorwedd yn y llechau, heb wg, dan y drugareddfa; y cyfiawnder oedd yn gofyn gwaed, mewn tragywyddol foddlonrwydd ar ol ei dderbyn. Nefoedd yw y fan lle mae Duw yn ei burdeb a'i ogoniant yn ddefnydd mwynhâd tragywyddol i'r rhai sydd yn berffaith ar ddelw ei Fab. Y Duw sydd yn ei phreswylio a ddywedodd hyn wrthym.

Medd y pechadur, "Pa fodd y mae crëadur euog fel myfi i feddu hawl, ac ar ol cael yr hawl, pa fodd y mae crëadur aflan fel myfi i gael y cymhwysder i fyw gyda Duw—i alw Sabbath o burdeb yn hyfrydwch—i fyw yn ddedwydd am byth, heb flino, mewn awyr o sancteiddrwydd perffaith, digwmwl?" "Y mae yn rhaid," medd Duw, "i ti gael dy gyfiawnhâu yn rhad trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu. Y mae yn rhaid i ti gael dy eni oddiuchod o ddwfr ac o'r Ysbryd; dy waredu o feddiant y tywyllwch, a dy symud i deyrnas fy anwyl Fab ar y ddaear. Y mae yn rhaid i ti gredu, ac ar ol credu, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, i chwanegu at dy ffydd, rinwedd." Y mae *holl* ogoniant y nef yn wybyddus i Dduw. Y mae wedi ymostwng i'w *ddarlunio* mor belled ag a fyddai o les i ni wybod am dano, ac i ddangos y llwybr a wnaeth Efe ei hun i bechadur gyrhaedd yno; a thrwy y dystiolaeth y mae yn gwneuthur y pechadur aflanaf yn gymhwys i'r wlad buraf yn ei ymherodraeth ëang—sef ei gartref ei hun. Yr Arglwydd a'n cymhwyso ninnau iddi!

IV. Y MAE YR YSGRYTHYR SYDD YN CYNNWYS CYFARWYDDIADAU PA FODD I FYW AR Y DDAEAR, WEDI EI RHODDI GAN YSBRYDOLIAETH Y DUW A'N GOSODODD MEWN GWAHANOL SEFYLLFAOEDD BYWYD.

Ar ol crëu y byd, y mae y gallu a'i galwodd i fod yn ei gadw mewn trefn; ac ar ol crëu dyn, fe'i gosododd i lafurio'r ddaear, ac fe benodd derfyn ei breswylfod mewn gardd. Ac ar ol iddo wneuthur o un gwaed bob cenedl o

ddynion i breswylio ar holl wyneb y ddaear, fe benodd yr amseroedd rhagosodedig, a therfynau eu preswylfod hwynt. Ond pa fodd i fyw yn y sefyllfäoedd yn y rhai y gosodwyd ni, ac yn ngwyneb yr amrywiol amgylchiadau sydd yn ein cyfarfod, yw y pwnc pwysig i ni wybod. Ond y mae yr Arglwydd wedi ymostwng i'n dysgu ni pa fodd i weithredu yn yr amgylchiadau y mae Efe ei hunan yn ein dwyn ni iddynt. Y mae cenedl Israel yn wynebu ar wlad hollol ddyeithr iddynt, a bron mor ddyeithr i Moses ag iddynt hwy. Er hyny, y maent yn myned yn hyderus trwyddi, â'u llygaid ar y golofn niwl a thân. Ac nid hyder rhyfygus ydyw, oblegid mai Creawdwr yr anialwch yw eu Harweinydd trwyddo. Efe sydd yn arwain yn y golofn. Nid yw y Môr Coch yn ddyeithr i'w Grëawdwr; ac fe ŵyr ef pa fan, pa adeg, a pha ddull, yw y goreu i'w groesi. Ni fuont hwy yn Marah o'r blaen, ac ni wyddent fod y dyfroedd yn chwerwon nes eu profi; ond fe wyddai y Duw oedd yn y golofn, ac fe blanodd bren gerllaw i'w pereiddio, ac Efe a'i dangosodd i Moses. Os dilynant y golofn, hwy a ddeuant i wlad heb friwsionyn o fara y ddaear. Dilynent hi er hyny; fe fedr y Gŵr sydd yn eu harwain wlawio iddynt ŷd y nefoedd a bara angelion. Trwy ddilyn y golofn, hwy a ddeuant i ganol llawer cyfyngder; ond trwy ei dilyn, hwy ddeuant trwyddo hefyd: i ymyl yr Iorddonen, a trwyddi yn ddiangol. Yr ydym ni yn rhodio ar hyd llwybr hollol ddyeithr i ni, llwybr ansathredig na cherddodd neb ar hyd-ddo o'n blaen ni; er ein bod yn awr ac yn y man yn croesi llwybr a gerddodd arall. Wrth golli brawd, yr ydym yn croesi y llwybr a gerddodd Mair a Martha; wrth golli eiddo neu iechyd, y llwybr a gerddodd Job. Ac y mae yr amser dyfodol mor dywyll i ni a thragywyddoldeb ei hun. Ond y mae Arglwydd pob amgylchiad wedi gwneuthur ei air yn llusern i'n traed, ac yn llewyrch i'n llwybrau, fel yr ydym yn ddiesgus.

Ar ol ein dyrchafu yn uwch na Chapernaum trwy y Bibl cyflawn sydd genym, yr Arglwydd a'n gwaredo rhag i ni gael ein tynu yn îs i uffern na neb arall! Peth ofnadwy fydd i Gymro syrthio yn nwylaw y Duw byw, a'r iachawdwriaeth wedi ei gwrthod am byth!

# PREGETH XIV.

## DUWIOLDEB YN PERI BODDLONRWYDD.

### GAN Y PARCH. JOHN FOULKES, LIVERPOOL.

**"Ond elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd."—1 TIMOTHEUS vi. 6.**

FE allai fod deall yr amser a'r amgylchiadau yr ysgrifenwyd y testun yn anghenrheidiol i ddeall ei feddwl. Yr oedd ar y pryd Iuddewon, yn gosod rhyw syniadau o flaen rhai caethion, a allasai dueddu at beri gwrthryfel rhyngddynt a'u meistriaid; trwy hòni fod Cristionogaeth yn rhwymo rhai felly i fod yn anufudd i'w meistriaid Paganaidd. Ac y mae Paul yma yn rhagflaenu hyny, trwy annog y rhai oedd yn y sefyllfäoedd hyny i ddangos pob parch ac ufudd-dod, er y gallai eu bod yn ngwasanaeth rhai Cenedlig; a hyny er anrhydedd i'w crefydd. Ac am y rhai oeddynt mor ddedwydd a bod yn ngwasanaeth rhai yn credu, ar iddynt ei chyfrif yn fawr fraint, a'i gwerthfawrogi.

Yna y mae yn hòni, os oedd rhywun heb gyttuno âg iachus eiriau Crist, a'r efengyl ynghylch trefn Duw yn achub, a'r holl rinweddau a gymhellir ynddi, "*chwyddo y mae*, heb wybod dim"—ond yn anmhwyllo ynghylch *geiriau*, nid *pethau*, ac yn codi dadleuon ynghylch cwestiynau, i'r hyn nad oes, fel ffrwyth, ond cynhenau, gofid, ac aflwydd. "Cyndyn ddadleu dynion llygredig eu meddwl, heb fod y gwirionedd ganddynt," nac yn gofalu dim am dano; yn barod i feddwl mai yr egwyddorion a'r syniadau a roddai fwyaf o elw iddynt hwy oedd yr un a ddilynent, ac felly yn gwneyd masnach o grefydd, ac yn ei throi i wasanaethu yr amcanion isel hyny.

Na fydded dim a wnelych â hwy—"Cilia oddiwrthynt." Ond am dduwioldeb, beth bynag fyddo syniadau dynion cnawdol am dani, y mae hi, a'r mwynhâd sydd ynddi, ynghyd a'r gydnabyddiaeth o Dduw, yr ymostyngiad iddo, a'r boddlonrwydd a gynnyrcha yn meddwl ei pherchen,

yr elw sicraf, mwyaf ei gysur, a'r hwyaf ei barhâd, a all dyn gael ar y ddaear. Canys nid yw y mwynhâd o'r crëadur ond gwag, diffygiol, a darfodedig.

I. Mai mewn duwioldeb y mae boddlonrwydd.

II. Mai hyny, o'i feddu, yw yr elw penaf.

III. Ychydig addysgiadau cymhwysiadol.

I. Mai mewn cysylltiad a duwioldeb y mae boddlonrwydd.

Boddlonrwydd ydyw llonyddwch, diddigrwydd, ystwythder gostyngedig a diolchgar yn y meddwl. Dyn diddig, isel ei fryd, a diolchgar yn yr amgylchiadau y byddo, yw dyn boddlawn. Cawn arlun o hono yn Jacob, pan ddywedai, "Y mae genyf fi ddigon, fy mrawd, y mae genyf fi bob peth." "Ni ryglyddais y lleiaf—os rhoddi i mi fwyd i'w fwyta, a dillad i'w gwisgo, cymeryd fy ngofal, a'm dwyn mewn heddwch i dŷ fy nhad, yna y bydd yr Arglwydd yn Dduw i mi." Yn Agur yr un modd, pan weddïai rhag tlodi a chyfoeth, ac am ddigonedd o fara. Gallem hefyd nodi tymher hynaws y Sunamees hono gyda gŵr Duw, yn achos ei bachgen, pan ddywedai fod "fod pob peth yn dda," yn arwydd o'r un peth.

Duwioldeb, weithiau, a olyga gydffurfiad y galon a'r fuchedd â deddf Duw, yn nghyflawniad y dyledswyddau gofynol tuag at Dduw a dynion. Cynnwys hefyd y teimladau, y tueddiadau, a'r agweddau priodol i fod mewn dynion dan ymgeledd rasol Ysbryd Duw, a than orchwyliaeth trugaredd, yn ceisio bywyd a dedwyddwch tragywyddol.

Yn y golygiad hwn arni, y mae yn amlwg fod ynddi elfenau cryfion boddlonrwydd, megys yn

1. *Ansawdd, teimlad, syniad, ac agwedd edifeiriol.* Y mae dyn dan y cwymp wedi colli adnabod arno ei hun. Er ei fod yn adyn truenus, y mae ei fryd yn uchel, ei feddwl yn chwyddedig,—ac y mae ymgodi hynod ynddo. Y meddwl uchel yma ydyw yr achos o'r holl anniolchgarwch, yr anniddigrwydd, a'r grwgnach sydd yn y byd. O ganlyniad, i'w brisio ei hunan yn rhy uchel, y mae yn gweled ei hun yn cael cam, trwy fod ei ofid yn rhy fawr, ei gysur yn rhy fychan, ei fwrdd yn rhy gul, ei barch yn anghyfartal; ac ni all ddyoddef ei groesi na'i wrthwynebu. Gellid meddwl ei fod megys un yn cyfrif Duw y nefoedd yn ddyledwr iddo fe. Cawn ddrych o hono yn

Pharaoh, pan ddywedai, "Pwy yw yr Arglwydd?"—yn Nebuchodonozor—ac yn neillduol yn y mab afradlawn. Aeth o chwith yn hollol. Arddrych falch sydd arno.

Y mae argyhoeddiad yr Ysbryd yn ei sefydlu mewn iawn farn am dano ei hunan, ac mewn teimlad ac agwedd briodol i hyny. Dygir ef i adnabod Duw yn ei fawredd, y ddeddf yn ei manylrwydd, a phechod yn ei fawr ddrwg. Daw i ddeall ei hunan yn euog a halogedig, yn dlawd a thruenus. Sefydlir ei farn felly, a chynnyrchir ynddo deimlad un felly, nes bydd agwedd ac iaith un wedi ei adnabod ei hunan ganddo—"llwch a lludw;" "ffiaidd genyf fi fy hunan;" "gwae fi!" "ni ryglyddais y lleiaf;" "nid wyf deilwng;" pechadur, a'r pechadur mawr a phenaf.

Mae y teimlad hwn, pan i raddau yn fywiog, yn enwedig os bydd gradd o ogoniant a gobaith yr efengyl yn ymgymysgu âg ef, yn sicr o beri boddlonrwydd yn mynwes y dyn hwnw. Y mae wedi ei ddwyn i ansawdd y gall gyfarfod â'r cyfan. Pan ddelo cystudd, fe gydnebydd ei fod yn llai na'r haeddiant. Os bydd y tamaid yn wael, medr ei gymeryd yn ddiolchgar; os bydd y gorchwyl yn isel, fe'i gwna yn ystwyth; ac os bydd yn tybied ei fod yn cael cam, medr ymddiried yn yr Arglwydd, a bod yn ddiddig a diolchgar. Mae y dyn edifeiriol wedi ei sefydlu mewn teimlad gostyngedig; ni bydd yn uchel synied yn amgen nag y dylid synied. Am dano fe, bydd yn dawel yn y bwthyn; bydd yn llon uwch ben bwrdd cyffredin, pe na byddai arno ond bara a dwfr; medr ddygymmod â'r dilledyn diaddurn, a bod yn hapus; medr fod yn galonog dan gloddio yn y ffos. Mae y fath dawelwch yn ei feddwl! Ni thyr pethau, a dorai galonau eraill, ddim ar ei gwsg ef. Mae addfwynder, gostyngeiddrwydd, a dyoddefgarwch, yn llon'd ei fynwes. Pan y caffo ambell amlygiad o ogoniant trefn Duw i faddeu pechodau trwy angeu'r groes, bydd yn mwynhâu pleser a thangnefedd a fwyda ei ysbryd i dawelwch un yn medru addoli. Mor hynod oedd dystawrwydd Aaron; mor ryfedd oedd ystwythder Eli; ac mor ddigyffelyb oedd "bendigedig" Job yn y dyfnder mawr hwnw!

2. Elfen arall mewn duwioldeb, er effeithio boddlonrwydd, ydyw *ffydd*. Trwy ffydd llenwir ei feddwl â chydnabyddiaeth o fawredd Duw, ac o'i lywodraeth Ef, pa helynt bynag a'i cyfarfyddo, nes cynnyrchu ystwythder ac

ymostyngiad ynddo. Y mae ffydd yn sicrhâu ymddiried yn Nuw. "Ti, Arglwydd, a wnaethost hyn." "Llaw Duw a gyffyrddodd â mi." "Yr Arglwydd a wnaeth yn chwerw iawn â mi."

Gosyd ffydd fyd arall o flaen y meddwl, a byrdra yr amser i fyw yn hwn. Tra na byddo dyn yn gallu trwy ffydd edrych ar fyd arall, ni all lai na bod yn anniddig. Edrych ar y "pethau ni welir," a bâr weled cystudd yn "fyr ac ysgafn." O! mor ddiddim yr edrych pob peth y byd yma yn ymyl y byd hwnw!

Dwg hi y meddwl i gydnabyddiaeth âg oes, neges, bywyd, ac angeu, y Cyfryngwr mawr. Arwain hi y meddwl i ddilyn oes y Cyfryngwr ar y ddaear, megys i'r preseb, gweithdŷ y saer, a gweled mor ddigartref ydoedd, mor dlawd. Cofia Ef ar làn ffynnon Sichar, ac yn diolch am fara haidd a dau bysgodyn; ac heb anghofio o hyd pwy ydoedd. Cofia ei dreialon, a'i agweddau—y temtio, yr erlid, a'r cablu fu arno, ïe y fflangellu a'r cyfan, ac mor dawel ac addfwyn ydoedd dan y cyfan, gan debygu iddo. Ffurfia gydnabyddiaeth yn y meddwl â'i neges i'r byd. Daeth yma yn unig er mwyn eraill, ïe ei elynion!—ufuddhâu, dyoddef, a marw!

Yn y goleu yma, daw gwerth enaid, mawredd tragywyddoldeb, pwys bod yn gadwedig, a gogoniant y drefn i hyny, i'w feddwl, fel trefn cariad a gras Duw yn wyneb Iesu Grist; nes bydd yn ei fynwes ormod o synu i rwgnach, a gormod o ryfeddu i ymladd â llaw Duw! Bydd grwgnach yn marw a diflanu yn awyr hyn.

Trwy ffydd daw i ddeall mai ar drugaredd rad y mae i fyw—na *fêdd*, na *all*, ac na *haeddodd* ddim. Try ei wyneb am faddeuant ar drugaredd rad mewn iawn, nes cyfrif ei hunan yn ddyledwr mewn iawn i Dduw am byth, ac ymhob peth.

Yn y wybodaeth hon am Dduw a'i drefn, ac yn y teimlad o'i heffeithiau, a'r mwynhâd o'i thangnefedd, mag hyder yn ei feddwl i nesâu at Dduw ymhob treialon, ac i ymddiried ynddo. Gŵyr i b'le i droi ac i roddi ei bwys. Medr sylweddoli llaw, llywodraeth, gofal, addewidion, a daioni Duw yn y cyfan; nes y bydd ei holl ysbryd wedi ei leddfu. "Dyoddefaf ddig yr Arglwydd. Ac mi a edrychaf ar yr Arglwydd; dysgwyliaf wrtho; Duw fy iachawdwriaeth ydyw!"

3. Elfen arall ydyw *ofn duwiol.* "Pa ŵr yw efe sydd yn ofni yr Arglwydd?"—ofn mabaidd, parchedig ofn, ofn yn tarddu oddiar gydnabyddiaeth a pharch. Ofn Duw oedd y llinell gyntaf yn nghymeriad Job. Noah yn ofni Duw; Abraham, Joseph, &c. Mor hynod oedd ei effaith, ac mor ardderchog! "Pe lladdai Efe fi, mi a ymddiriedaf ynddo!" Wynebodd Noah ddylif ofnadwy, dan lywodraeth hwn, yn dawel ac amyneddgar. Gadawodd Abraham ei wlad; medrodd wneyd aberth o'i unig Isaac. Cawn hanes Joseph yn ymlwybro ymlaen, dan ddylanwad hwn, heb gyffroi nac aflonyddu. Mor ragorol yw hwn yn yr enaid, fel *ballast* mewn llong!

4. *Cariad at Dduw, ei enw, a'i anrhydedd.* Llywodraetha hwn ar y serchiadau, ac ar holl dueddiadau y galon. Dywed, "y cwpan a roddes y *Tad!*" gwialen *Tad*, cerydd *Tad.* Gall ddarllen cariad yn y cyfan ambell dro, ac y mae cariad at Dduw yn elfen fywiol ynddo yntau.

5. *Gall y dyn yma addoli.* Cyfododd Job, rhwygodd ei fantell, syrthiodd i lawr, ac addolodd. Dyn ydyw hwn wedi dyfod ato ei hunan, ac at ei fater mwyaf. Darfu â'r byd yma, yn ei wg a'i wên. Dygwyd ef o ran ei feddwl at Iesu; cafodd olwg ar ddigonedd Iachawdwr Duw; ymlonyddodd; gall addoli! Mae hwn fel llong wrth ei hangor—fel tŷ ar y graig—fel cedrwydden mewn 'storm. Ymwthia i gysgod yr Hollalluog, fel y cyw yn ymwthio i gysgod yr aden, neu fel y baban yn ymwasgu ar y fron. Mae pethau y nef wedi denu ei fryd, ac yfed ei ysbryd. Sycheda am danynt; cryfhâ ei hyder am eu mwynhâu. Cafodd fwy o lawenydd yn y blaenbrawf o honynt nag a all y byd yma roddi iddo. Diflasa ar y byd, ac y mae yn gallu dygymmod â'i ddyoddefiadau wrth feddwl am y gogoniant a ddadguddir yn y man. Gall ganu—

"Ni phery ddim yn hir
Y ddu dymhestlog nos,
Ni threfnwyd oesoedd maith
I neb i gario 'r groes;
Mae 'r hyfryd wawr sy 'n goleuo draw
Yn d'weyd fod dyddiau braf gerllaw."

Ond edrychwn am fynyd ar y byd annuwiol, gyda golwg ar hyn. Nid oes ond anfoddlonrwydd ymhob man heb dduwioldeb. "Y rhai anwir sydd fel y môr yn

dygyfor, pan na allo fod yn llonydd." Mae y byd hwn fel *fever ward* fawr, â rhyw ferw, cwynfan, a dadwrdd, drwyddi draw; aflonyddwch a berw gwyllt. Nid oes dim yn llesâu, y mae rhyw Mordecai yn y porth. Mae yr Ahab arall yn glaf am winllan rhyw Naboth. Fel hyn y mae pob gradd a sefyllfa o ddynion ar y ddaear, nes eu dwyn dan ddylanwad ac effeithiau duwioldeb. Ynddi *hi* y mae boddlonrwydd sydd yn werth son am dano. Hynod y dychymyg sydd gan ddynion am foddlonrwydd. Tybia y *dinesydd* mai yn y *wlad* y mae; tybia y *gwladaidd* mai mewn *gwychder* y mae; tybia *gwyr y llysoedd* prysur mai yn y *llonyddwch* y mae; a'r *tlawd* yntau mai yn y *palas* y mae. Hynod y *notions* sydd yn ei gylch! Ond mewn duwioldeb y mae efe.

II. Mai hyn, o'i feddu, yw yr elw mwyaf.

1. Mae yn wir mai crëadur amgylchiadau yw dyn. Rhaid iddo wrth ymborth a dillad, cartref, a lliaws o bethau; a dylai fod bob amser yn ystyriol o hyny, ac yn ddarbodol hefyd. Y mae hefyd yn grëadur teimlad i fesur mawr; ac y mae chwennych a cheisio y byd fel *moddion*, nid yn unig yn gyfreithlawn, ond yn ddyledswydd. Deddf natur, rheswm, a chyfiawnder, yw hon. Bydd y llysiau megys yn llon mewn *soil* dda; chwery yr anifail mewn porfa fras; gwena y grëadigaeth yn wyneb haf. Mae y cysylltiad mor agos hefyd rhwng y corff a'r enaid, fel y mae cysuron bywyd dyn yn tueddu, neu yn effeithio, cryn lawer ar ddefnyddioldeb ei fywyd, fel mai dyledswydd pob dyn ydyw ymgais yn ofn yr Arglwydd, ar lwybr diwydrwydd gonest, am gysuron bywyd.

2. Mae mor wir a hyny fod dyn dan y cwymp yn grëadur trachwant. Mae yn wag byth wedi colli Duw; fel ysbwng yn gorfod troi i rywle am wlybwr. Ac at y byd, ac i'r byd, yr aeth, a gwneyd hyny yn ddyben, ac yn dduw iddo ei hun; ei chwant yn ymagor yn anniwall. Daw gwir anghen natur i ychydig, sef "ymborth a dillad." Gwyddai Jacob hyny, ac Agur yr un modd. Ac ni all natur fwynhâu dim ond hyny, mewn gwirionedd. A hyny yw y cyfan a gynnwysir yn addewid Duw. Ond ni raid i ni drafferth fawr i ganfod chwant yn ymagor yn anniwall am ragor: glythineb mewn bwyd, meddwdod mewn diod, coegfalchedd mewn gwisg, rhodresgar mewn dodrefn, a moethus mewn mwyniant. Ac ä yn raddol,

yn ei ymgais am y byd, i wneyd hyny yn ddyben ac yn amcan, na ellir ei ddigoni.

3. Y mae gan ddynion lawer o resymau, meddynt, dros geisio rhyw dipyn o'r byd: megys eu codi uwchlaw adfyd a phrinder; darpar erbyn amser a ddaw; rhagddarbod ar gyfer eu plant, a bod yn fwy defnyddiol i'w cenedlaeth; ac yn yr ymestyniad am dano yn gwneyd cam â'u heneidiau eu hunain, ac yn aml iawn yn syrthio i brofedigaethau o ryw fath neu gilydd. Edrychwn ar ddyn wedi cyrhaedd hyn i fesur; faint helaethach yw ei fwynhâd a'i gysur? A ydyw yn ddiwall? Ai nid am ragor y mae ei gri? Ac onid oes cynnydd ar ei ofal a'i bryder yn gyfartal i hyny?

Mewn *boddlonrwydd duwiol* y mae yr elw, ac nid mewn llawer o'r byd, a'i fwyniant helaeth.

1. *Y mae amlhâd golud yn amlhâu gofalon:* "Llawnder y cyfoethog ni âd iddo gysgu," pan fydd y tlawd lluddedig â'i gwsg yn felus iddo. "Lle byddo llawer o ddâ y bydd llawer i'w ddifa." Mae gofalon, gofidiau, a pheryglon làwer ynglŷn âg ef. Gwelwn hyn yn nammeg y goludog yn Luc xii.—ei gynauaf yn ei orthrymu o ran gofal. Mae y dymuniadau am ragor yn ei lethu hefyd. Ni chafodd ddigon eto. Gwinllan y Naboth yna eto. Y mae safn ei chwant yn ymagor. Fel y môr y mae—llyncu er a gafodd; y wanc yn awchus; dyheu am ragor; mwy, mwy; hyn acw hefyd. Tŷ at dŷ, maes at faes, *business* at *fusiness; shares* newydd, plwm o'r ddaear, nifer o longau,—llawn aflonyddwch! Nid wyf yn beio hyn dan bob amgylchiad, ond ei nodi i brofi nad mewn llawer o'r byd y mae dedwyddwch. Daw anghysuron i mewn—poen, damwain, clefyd, colled, siomedigaeth, ac angeu; ac nid oes yn yr holl lawnder ddim cyfaddas i deimladau ysbryd profedigaethus. Bu gyfyng ar Saul er ei fod yn frenin; aeth Hezeciah yntau yn glaf, er fod ganddo orseddfainc. Dacw enaid y goludog yn myned, cyn iddo gael ei gynauaf. Mae holl ffynnonau ei fwyniant bydol yn sychion. Beth am dduwioldeb a boddlonrwydd? Rhydd hi gydwybod dda; daw â chysur yn y cystudd; gorfoledd yn y gorthrymder; dwg yr enaid i gydnabod Duw nes ymlonyddu; chwydda y mwyniant bychan; rhydd basg ynghyd a'r dail surion; a gwna ei pherchen yn gryf yn wyneb angeu ei hunan. "Elw mawr" yw hi!

2. *Ni ddiogela mwyniant presennol ddim rhag drygau a phrofedigaethau dyfodol.* Er caniatâu fod darpar at yr amser a ddaw, yn ofn yr Arglwydd, yn ddyledswydd; eto, wedi cael pethau i'r meddiant, y maent yn ansicr. Nid oes dim *sail* o danynt; dim *gwraidd* iddynt; ac y mae *adenydd* ganddynt. *Peth nid yw*, mewn cymhariaeth, ydyw golud. Mae cysylltiad eu parhâd âg amgylchiadau sydd yn cyfnewid yn fawr. Pwy all sicrhâu na welir perchen y miloedd wedi dyfod i'r dim—y boneddwr yn dlawd—y mawr ei rwysg yn cardota ei damaid—y glwth yn cofleidio y domen? Pan ddaw drygfyd, y mae ynddo rywbeth ofnadwy i'r dyn a'u casglodd yn annheg. Bydd drain, a melldith, a chwerwedd ofnadwy! Ac ar ol y cyfan, bydd yn myned i farw ryw ddydd; a gwagedd fydd y cwbl iddo erbyn hyny. Ond am dduwioldeb, rhydd foddlonrwydd, beth bynag fydd yr amgylchiadau. Yr oedd gan y philosophydd, yn ei ddychymyg, ryw gareg yn troi pob peth yn aur. Ond gwna duwioldeb hyny, gwna hi hyny yn *real.* Tywys hi y meddwl at Dduw ac at gyfoeth ei addewidion, ac ymlonydda. "Haul a tharian yw yr Arglwydd Dduw; rhydd ras a gogoniant, a phob daioni" (Ps. lxxxiv). "Pa wedd gyda ei Fab na ddyry Efe i ni bob peth." "Gobeithia yn yr Arglwydd, a gwna dda; a chei drigo yn y tir, a thi a borthir yn ddiau." Addawyd y rhoddai Efe yr holl bethau hyn yn ychwaneg i'r rhai gofalus am deyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef (Matth. vi. 33). Caiff natur ei chodi oddiar ei deddfau cyffredin, cyn y palla addewidion Duw i'w bobl. Cymer Ef eu gofal; rheola bob peth er eu lles; cânt farw yn ei freichiau Ef. Cymerwn y chweched Salm a deugain drwyddi. Dwg duwioldeb a boddlonrwydd hyn oll at y meddwl, er ei gynnaliaeth a'i gysur.

3. *Ni wna llawer o'r byd fwynhâd erbyn yr amser a ddaw, fel y dychymyga llawer.* "Dâ dros lawer o flynyddoedd" (Luc xii. 19, 20); na! *"y nos hon" y byddi yn myned!* Pa fwyniant a all fod, er iddo ennill a chasglu? Daw henaint o hyd iddo, neu afiechyd; ac mor sych fydd y pydew! Ni fedr ef fwynhâu mwy na Barziliai, pan yn hen. "Mab pedwar ugain mlwydd wyf fi heddyw: a wn i ragoriaeth rhwng da a drwg? a ddichon dy was archwaethu yr hyn a fwytâf, neu yr hyn a yfaf? a glywaf fi lais cerddorion?" (2 Sam. xix. 35). Bydd llawer, ond

odid, yn dysgwyl am ei angeu. Ond am y duwiol, pan yn hen, caiff rodio gyda Duw—caiff ddyddanwch yr Ysbryd—nerth pan ballo cnawd a chalon. Y mae ganddo Un a'i dyddana. Caiff edrych gyda thangnefedd ar ddiwedd ei daith; bydd meddwl am fwyniant y nef yn adfywio ei enaid. Er llygru ei ddyn oddiallan, adnewyddir y dyn oddimewn; tra na byddo yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir, y rhai sydd dragywyddol.

4. *Nid cyfoeth y ddaear yw y goreu i'r plant.* Yn lled fynych y mae yr amcan yn porthi llygredd plant—maethu uchelfrydedd a balchder ynddynt. Ac y mae hyn yn dygwyddo yn fynych ar *scale* y bydd eu heneidiau yn cael cam yn y chwareu; ac ond odid na bydd aml dro wedi dygwyddo, wrth eu casglu iddynt, a bâr ofid rhwng y gydwybod â Duw—i beri barnau, ac i ddwyn anfoddlonrwydd Duw mewn rhyw wedd neu gilydd. Duwioldeb a boddlonrwydd yw yr "elw mawr" eto. Addysg dda, esiamplau da, a gweddïau drostynt, yw yr *income* goreu i'r plant. Eu harfer mewn diwydrwydd eu hunain; eu dysgu hwy i nofio, ac nid rhoddi cyrc dan eu ceseiliau. Gofalu am reddfu cynnildeb, cymwynasgarwch, &c., yn egwyddorion cryfion yn eu meddyliau, gan amcanu eu cydnabyddu â gofal ac â llywodraeth Duw, a'u hannog i ymddiried ynddo Ef.

5. *Duwioldeb yn unig a gwyd i fywyd defnyddiol.* Ychydig sydd yn gwella eraill â'u golud. Egwyddor, esiamplau, gweddïau, ac ymarweddiad dynion da, sydd yn gwella'r byd, ac nid golud. Gwna duwioldeb hwy yn halen, yn oleuni, yn dystion, yn offeiriaid; a dilyn effeithiau da eu bywyd am oesoedd, i deuluoedd, i lan, tref, a gwlad. Cadwyd y rhai hyny gyda Paul. Pe buasai yno ychydig yn Sodom, cawsai pethau arbediad. Rhydd y Duw mawr ddaioni i'r byd er eu mwyn. Hon, hon yw yr etifeddiaeth oreu!

III. Casgliadau. Gwelwn yn

1. *Mor ynfyd yw y rhai sydd yn ceisio, ac yn dysgwyl, cyrhaeddyd dedwyddwch mewn cyfoeth lawer.* Nid yma y mae! gwagedd yw y cyfan! Pechod mawr yr oes yma yw hyn, ac y mae ei ôl ar grefydd, a Duw yn digio ac yn ymguddio o'r achos.

2. *Y mae duwioldeb yr elw mwyaf ynddi ei hun.* Mae cariad yn ei cherydd, gorfoledd yn ei thristwch, ennill yn ei cholledion, lles trwy bethau chwithig, puro trwy ei

pheiriau, diddyfnu trwy ei phethau chwerwon, mwyniant yn ei diffygion, a thragywyddol fwynhâd yn ei haros.

3. *Mai tlodi i'r* EITHAF *yw bod heb dduwioldeb.* Bod heb *ddim* ydyw hyny. Neges oes ddylai fod ceisio hon; a bydd mynyd o wybod ei bod mewn meddiant, wrth farw, yn beth o werth anfeidrol!

# PREGETH XV.

## ERCHYLLDOD CWYMP I DDWYLAW Y DUW BYW.

GAN Y PARCH. WILLIAM MORRIS, TYDDEWI.

"Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw."—HEBREAID x. 31.

PA fodd y gall un dyn wrandaw y fath ddadganiad o enau yr Hollalluog heb gael ei orlenwi âg arswyd a dychryn, sydd yn syndod. Onid yw llawer o honoch yr awr hon yn dystion o hyny? canys clywsoch y gair hwn yn fynych, eto nid effeithiodd gryndod. Mae pob peth yn cyfarfod yn ngwirionedd difrifol y testun ag sydd yn galw am sylw. Yn un peth, mae y dystiolaeth yn eithaf gwir. Nid rhyw chwedl, y mae lle i ammheu ei gwirionedd, ydyw; ond y digelwyddog Dduw sydd yma yn llefaru. Geiriau gwirionedd a sobrwydd ydynt. Peth arall: gwirionedd ag sydd yn perthyn i ni ein hunain a geir yma. Beth os boddodd yr Aiphtiaid yn y Môr Coch? y mae plant Israel yn canu ar dir sych. Ond digofaint Duw sydd fel y dylif; efe a ddaw ar fyd y rhai anwir. "Pawb a bechasant." Mae "yr holl fyd dan farn Duw." Gan hyny y mae eisieu i bob dyn wrandaw drosto ei hun. Hefyd, am beth mawr y mae: "syrthio i ddwylaw y Duw byw." Darfu i Cis roddi heibio chwedl yr asynod pan y daeth peth mwy i wasgu arno, sef bywyd ei fab. Ond ni chyferfydd pechadur â dim yn debyg i ddigofaint Duw. Nid ydyw syrthio i ddwylaw dynion a chythreuliaid ond chware at hyn. Crynwn gan hyny. Er taflu saethau o haiarn a phres at bechaduriaid, nid ydynt ond fel gwellt a phren pwdr, o eisieu i'r gair gael ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant. Ond, "yr Hwn a'i gwnaeth a all beri i'w gleddyf nesâu ato ef." Bydded iddo wneyd hyny yn awr!

Wedi i'r awdwr, yn y llythyr hwn, ddangos rhagoriaeth Mab Duw o ran ei Berson ar yr angelion, ac hefyd rhagoriaeth ei offeiriadaeth ar yr eiddo Aaron a'i olynwyr, y

rhai oedd yn cael eu lluddio gan farwolaeth i barhâu, ond Efe, am ei fod yn aros yn dragywydd, âg offeiriadaeth dragywyddol ganddo, &c.,—y mae efe yma yn eu hannogi lynu yn eu proffes o hono, gan ddangos mawredd y pechod o wrthgilio, a chyflwr anobeithiol y rhai a barhânt mewn gwrthgiliad. Clywch yr hyn a ddywedir ganddo ar hyn: "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach; eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr. Yr un a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion. Pa faint mwy cosbedigaeth, dybygwch chwi, y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras? Canys nyni a adwaenom y neb a ddywedodd, Myfi biau dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd. A thrachefn, Yr Arglwydd a farna ei bobl." Casgliad oddiwrth y pethau arswydlawn hyn yw ein testun. "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw." Mae y rhai sydd yn teithio trwy anialwch yn dwyn tân gyda hwy, er mwyn tarfu bwystfilod ysglyfaethus ymaith; felly y mae Duw, wrth ymwneyd â phechaduriaid aflywodraethus, yn ymwisgo fel â than a fflamau i'w dychrynu rhag syrthio i'r gwddf iddo ef—yn cyhoeddi ei gyfiawnder yn ei holl arswydiadau. Mae yn briodol i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl gyhoeddi i bechaduriaid y canlyniad o wrthod yr unig Waredwr.

Yn y geiriau gwelwn yn

I. Darluniad o'r Ymddialydd: "Duw byw."

II. Canlyniad pechod gyda golwg arno: "syrthio i'w ddwylaw."

III. Erchylldod hyny: "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw." Y Nefoedd a roddo oleuni a bendith!

I. Y darluniad o'r Ymddialydd: "y Duw byw." Mae yr enw yma yn briodol i'r achos mewn llaw.

Dywedir hyn am Dduw yn hanfodol. "Sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw," medd Dafydd dduwiol. "Y bywiol a'r gwir Dduw," medd Paul am dano. Lleferir hyn am bob un o'r Personau Dwyfol. "Ti yw Crist, Mab y Duw byw." "Canys megys y mae gan y Tad fywyd ynddo ei hunan, felly y rhoddes efe i'r

Mab hefyd fod ganddo fywyd ynddo ei hunan." Ac am yr Ysbryd Glân y dywedir, "Teml y Duw byw ydych chwi." Preswylydd anfarwol sydd yn yr eglwys, yr hwn a all anadlu bywyd yn holl ordinhadau crefydd ac yn holl rasusau y saint. Dyrchafwn ein llef ato, "Deffro di, ogleddwynt, a thyred ddeheuwynt, chwyth ar fy ngardd!"

Bywyd yn Nuw sydd wahanol i fywyd crëaduriaid. Maent hwy yn fyw, ond y mae efe yn fywyd. Byw yw efe ynddo ei hun ac o hono ei hun. Bywyd cynnyddol, derbyniol, a diwalledig, sydd gan grëaduriaid; ond y mae Duw yn byw yn gyflawn ar unwaith, heb ddim wedi myned heibio na dim i ddyfod." "Un dydd gyda yr Arglwydd sydd fel mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd megys un dydd." Y mae Efe "yn preswylio tragywyddoldeb." "Ydwyf yr Hwn ydwyf," yw yr enw a rydd arno ei hun. Arswydwn ger ei fron Ef; o herwydd,

"Llon'd y nefoedd, llon'd y byd,
Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd tragwyddoldeb maith ei hun;
Diderfyn ydyw Duw!
Mae 'n llon'd y gwagle yn ddi goll,
Mae oll yn oll â'i allu 'n un;
Anfeidrol, annherfynol Fôd,
A'i hanfod ynddo ei hun!"

1. Gelwir ef yn Dduw byw, *mewn cyferbyniad i dduwiau meirwon.* Jeremiah (pen. x), i ddangos rhagoriaeth Duw Israel ar dduwiau y cenedloedd, a ddywed, "Celwydd yw ei ddelw dawdd, nid oes anadl ynddynt. Y mae yn rhaid eu dwyn hwynt, am nad allant gerdded. Oferedd ynt, a gwaith cyfeiliorni. Eithr yr Arglwydd ydyw y gwir Dduw; efe yw y Duw byw, a'r Brenin tragywyddol." Y fath anwybodaeth a ddengys eilunaddoliaeth! y dyn yn cymeryd i'w law bren; "rhan o hono a lysg efe yn tân, a'r rhan arall yn dduw y gwna, yn ddelw gerfiedig iddo; efe a ymgryma iddo, ac a'i haddola, ac a weddïa arno, ac a ddywed, Gwared fi, canys fy nuw ydwyt." Dyna ni oni buasai Gair Duw! Miliynau sydd y dydd heddyw yn galw ar dduwiau meirwon. Teimlwn ychwaneg drostynt, a chyfranwn yn helaethach er anfon Biblau a Chenadon atynt, i bregethu ar iddynt droi oddiwrth y pethau gweigion hyn at y Duw byw. Hyfryd yw meddwl y teflir i lawr maes o law bob eilun,

o flaen gwybodaeth o'r gwir Dduw. "A'r eilunod a fwrw efe ymaith yn hollol."

2. Gelwir ef yn Dduw byw, *am mai efe sydd yn rhoddi bywyd*. Efe yw "yr hwn y mae einioes pob peth byw yn llaw, ac anadl pob math ar ddyn." A ydych yn ystyried hyn? Gydag ef "y mae ffynnon y bywyd," neu *ffynnon y bywydau*. Dyna y bywyd llysieuol; Efe sydd "yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, a llysiau i wasanaeth dyn." Y bywyd teimladol yn yr anifeiliaid, hefyd; Efe sydd yn rhoddi ac yn cynnal hwnw, er mwyn iddynt hwy gynnal a gwasanaethu dyn. Ei Ysbryd sydd yn eu creu hwynt, a phan y dygo efe ymaith eu hanadl, trengant, a dychwelant i'w llwch. Ein bywyd naturiol ninnau sydd yn gwbl o Dduw. Efe sydd "yn rhoddi i bawb fywyd, ac anadl, a phob peth oll," ac "ynddo Ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod." Ac Efe yw awdwr y bywyd o ras. "A chwithau a fywhäodd Efe, pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau." A chyda hyn oll, cofier mai "dawn Duw yw bywyd tragywyddol." Cysegrwn, gan hyny, ein bywyd i'r Hwn a'i rhoddodd; a rhoddwn ef i lawr erddo, os bydd ei achos a'i wirionedd yn gofyn. Ardderchog lu y merthyron, "ni charasant eu heinioes hyd angeu." Yr oedd Paul "yn barod, nid i'w rwymo yn unig, ond i farw hefyd yn Jerusalem, er mwyn enw yr Arglwydd Iesu."

3. Dywedir mai y Duw byw ydyw, *er ei ddangos yn deilwng wrthddrych ymddiried*. Fel hyn yr oedd Paul a'i frodyr yn gwneuthur (1 Tim. iv. 10), ac felly y mae yn briodol i ninnau eto wneyd: "gobeithio yn y Duw byw." Teilwng i ni wneuthur hyn gyda golwg ar yr achos crefyddol yn y byd. "Ein tadau, pa le y maent hwy? a'r prophwydi, ydynt hwy yn fyw byth?" Nac ydynt, nac ydynt! medd ein mynych alar. Ond mae eu Duw hwynt yn fyw, yr hwn a wnaeth yr holl wyrthiau trwy law pawb ymhob oes; ac ni fyrhäodd ei law Ef fel nad allo achub. Mae yn wir fod Moses ac Aaron wedi marw; ond "byw yw yr Arglwydd yr hwn a ddŷg feibion Israel i fyny o wlad yr Aipht;" a byw yw Efe i ddwyn ei bobl eto o dir Assyria, ac o bob man lle eu caethgludwyd. "Yn y flwyddyn y bu farw y brenin Uzziah, y gwelais hefyd yr Arglwydd," yn Frenin byw, "yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odreu yn llenwi y deml."

A gweddus yw i ni ymddiried ynddo fel y Duw byw gyda golwg ar ein holl achosion teuluaidd. Er fod y tad daearol wedi marw, a'r priod mynwesol yn y bedd, mae Duw yn fyw, yn Dad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon; ac Efe a ddywed wrth y penteulu duwiol sydd ar ei wely angeu yn edrych yn bryderus ar ei deulu wrth fyned ymaith, "Gad dy amddifaid," gâd hwy gyda mi, "a mi a'u cadwaf hwynt yn fyw, ac ymddirieded dy weddw ynof fi." Ië, ymddiriedwn ynddo yn ngwyneb pob cyfyngder y gallwn ei gyfarfod, hyd yn nôd yn ngwyneb ffwrn o dân, a ffau o lewod. Shadrach, Mesach, ac Abednego, a roisant eu hyder "yn eu Duw, yr hwn yr oeddynt yn ei addoli," a Daniel, yntau, "a gredodd yn ei Dduw;" ac ni siomwyd hwynt. Ac yn ngwyneb angeu ei hun, taflwn angor yma; bydd Efe yn fyw pan fyddom ni yn trengu. "Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth, o herwydd" ni bydd Efe byth farw; "yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragywyddol."

4. Y Duw byw, *fel y deallom pa fath wasanaeth sydd yn gweddu iddo.* Dywedir fod y rhai sydd yn addoli yr haul yn aberthu iddo feirch byw. I'r Duw byw, rhoddwch eich cyrff "yn aberth byw." Rhaid bod yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd, yn esgud i wrando, yn daer mewn gweddi, ac yn fywiog ymhob ymarferiad crefyddol. Os cyffyrddai neb gynt â chorff marw, yr oedd i'w ddeoli oddiwrth addoliad y Duw byw nes ei lanhâu. Heb lanhâu yr enaid trwy waed Crist, ni fêdd neb hawl na chymhwysder at wasanaeth y Goruchaf; ond wedi cael y gwaed hwn i buro y gydwybod oddiwrth weithredoedd meirwon, dyna yr hen bechadur bellach yn gymhwys "i wasanaethu y Duw byw."

5. Yn benaf, gelwir ef yma yn Dduw byw, *i egluro a chadarnhâu y gosodiad pwysig yn y testun,* sef mai "peth ofnadwy yw syrthio i'w ddwylaw." Gorthrymwyr creulawn oedd yr hen Aiphtiaid; ond gwelodd y rhai gorthrymedig ddydd y gallwyd dywedyd wrthynt, "Yr Aiphtiaid y rhai a welsoch chwi heddyw, ni chewch eu gweled byth ond hyny." Gorfu ar Joseph a Mair a'r mab bychan ffoi rhag dyrnod Herod; ond yn fuan, dacw alwad iddynt ddychwelyd, gan ddywedyd, "Y rhai oedd yn ceisio einioes y mab bychan a fuont feirw." Ond ni ddaw y newydd hyny byth i uffern. Ystyria, bechadur, fod y dialydd

am bechod yn Dduw byw. Efe a geidw fywyd yn ei elyn, ac a fydd byw byth i'w gosbi. Addas iawn gan hyny yw gweiddi heddyw ar y troseddwr, "Cyttuna â'th Wrthwynebwr ar frys, tra fyddech ar y ffordd gydag ef, rhag un amser i'th Wrthwynebwr dy roddi yn llaw y Barnwr, a'r Barnwr dy roddi at y swyddog, a'th daflu yn ngharchar; yn wir, meddaf i ti, ni ddeui di allan oddiyno hyd oni thalech y ffyrling eithaf." "Gwae a ymrysona â'i Luniwr;" dyro, ynte, dy arfau i lawr, bechadur, a derbyn y cymmod. Heddyw, yn mhabell y cyfarfod, Efe a gymmoda â thi heb gyfrif i ti dy bechodau; ond os unwaith y daw Efe allan o'i fangre i ddechre ymosod, ni welir byth ddiwedd ar y rhyfel. I lawr, i lawr at ei draed! Dyma yr ymddialydd hollalluog,—y Duw byw! Crynwn yn ein lle!

II. Canlyniad pechod gyda golwg ar Dduw: "syrthio yn nwylaw y Duw byw."

Nid oes i ni ddeall wrth hyn fel pe byddai bechadur rywbryd heb fod yn ei afael; na, mae ei anadl yn llaw Duw, a'i ffyrdd yn eiddo. Ond y troseddwr yn dyfod yn weithredol i'r ddalfa a feddylir; yn lle bod yn wrthddrych hirymaros yr Arglwydd, yn dyfod yn wrthddrych gweinyddiad ei lidiawgrwydd. Sylwch,—

1. *Mae pechod wedi suddo dynion o dan wg Duw.* Yr ydym bawb "wrth naturiaeth yn blant digofaint;" "yr holl fyd dan farn Duw." Nid oes eisieu un ymdrech i fyned i uffern; dim ond cysgu yn y cyflwr ein ganed, a'n diwedd sicr a fydd dystryw. Nid oes dim, cofier, a symud y gwg ymaith ond undeb â'r Gwaredwr. Mae amser yn dyfod â phlentyn o waeledd babandod; mae iechyd yn dyfod â ni o boen y clefyd; mae cyfoeth yn helpio o dlodi; ac y mae proffes yn dyfod â ni o'r byd i'r eglwys; ond y mae y digofaint yn aros, er pob cyfryw symudiadau, nes i'r enaid ddyfod i Grist. "Yr hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wêl fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." Nid oedd waeth i ba le yr elai y llofrudd gynt os nad elai i'r ddinas noddfa; yr oedd yn agored i ddialydd y gwaed ymhob man arall. "Nid oes yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu;" ond y mae damnedigaeth i droseddwr ymhob lle arall.

2. *Mae pechadur yn rhwym o syrthio rywbryd o dan wein-*

*yddiad cosbedigaeth am ei drosedd.* "Mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufudd-dod." Os ydyw yn ymddangos yn araf ei gamrau, mae yn sicr o ben ei daith. Ei law a geiff afael ar ei holl elynion; ymeifl yn nghopa walltog yr hwn a rodia rhagddo yn ei gamweddau. Gwir yw bod Duw yn drugarog ac yn hirymarhous; ond beth y mae dynion yn ei wneyd yn yr yspaid hwnw? onid ydynt yn ol eu caledrwydd a'u calonau diedifeiriol yn trysori iddynt eu hunain ddigofaint erbyn dydd digofaint, ac yn cymhwyso eu hunain i ddystryw? Clywch eiriau sydd yn ddigon i hollti creigiau!—"Beth os Duw, yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefodd trwy hirymaros lestri digofaint, wedi eu cymhwyso i golledigaeth!" Yr ydym oll o dan ryw gymhwyso i fyd arall. O! i ba le yno y cymhwysir ni? Gyda bod syrthio i ddialedd Dwyfol yn sicr i'r anedifeiriol, fe all hefyd fod yn hynod o ddisymwth. Pan yn meddwl am hir fwynhâd o'i ddâ, fe allai mai y nos hono y cymerir ei enaid oddiarno. Dacw Herod ar ddydd nodedig, wedi ei wisgo yn ei holl ddysgleirder breninol, yn eistedd ar ei orsedd wych, gan areithio yn rhwysgfawr, a'r bobl, wrth ei weled a'i glywed, yn rhoddi iddo anrhydedd nad oedd gymhwys ond i Dduw, ac yntau yn cymeryd yn rhwydd y gogoniant iddo ei hun; ond "allan o law," dyna swyddog y Duw byw yn ffrewyllu y dyn gwag, "a chan bryfed yn ei ysu, efe a drengodd." "Canys pan ddywedant, Tangnefedd a diogelwch! yna y mae dinystr disymwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megys gwewyr esgor ar un a fo beichiog; ac ni ddïangant hwy ddim." Cymerwn rybudd mewn pryd. "Cyn i'r ddeddf esgor, cyn i'r dydd fyned heibio fel peiswyn, cyn dyfod arnoch lid digofaint yr Arglwydd, ceisiwch yr Arglwydd;" ceisiwch ei hedd a'i ffafr yn Nghrist; y mae gobaith eto yn tywynu ar eich achos; "fe allai y cuddir chwi yn nydd digofaint yr Arglwydd." Nid oedd gan y Ninifëaid, yn ngwyneb y dinystr bygythiedig, un sicrhâd am arbediad. Ond "pwy a ŵyr a dry Efe oddiwrth angerdd ei ddig, fel na ddyfether ni!" ond bu hyny o ystyriaeth yn ddigon i'w hanfon i'r llwch; ac ni tharäwyd mohonynt ar lawr.

3. *Yn y byd a ddaw, i ddwylaw noethion y Duw byw y syrth pechadur.* Nid trwy greaduriaid, elfenau, na heintiau, y bydd y gosb, ond yn ddigyfrwng. Y rhai "nid

adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhâu i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist, a ddyoddefant yn gosbedigaeth, ddinystr tragywyddol," yr hwn a ddaw yn uniongyrchol, "oddi gerbron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid Ef." Argraffiadau o anfoddlonrwydd Duw yn ddigyfrwng a fydd uffern. "Pe cyweiriwn fy ngwely yn uffern, yno yr wyt ti." Nid dafnau o gwmwl a fydd yno, ond boddi mewn môr; nid bys Duw yn cyffwrdd â chydwybod, ond y Barnwr "yn cyffroi ei holl lid;" nid cawr yn taro â gwelltyn, ond â'i ddwrn. "Mi bïau dial, a myfi a dalaf, medd yr Arglwydd." O! y Duw mawr, "pwy a edwyn nerth dy soriant?" Diangfa, diangfa, yn awr! "Un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu;" ac wrth wrthod hwnw, yr ydych yn anmharchu Duw yn y dadguddiad uchaf o'i garedigrwydd i bechaduriaid, ac yn taflu eich hunain i ddwylaw noethion y Duwdod. Gwyliwch fathru Mab Duw; eithr "cusenwch y Mab rhag iddo ddigio, a'ch dyfetha chwi o'r ffordd." O! Ysbryd y gwirionedd, tyred yn awr i argyhoeddi y byd o bechod, am nad ydynt yn credu yn y Gwaredwr!

III. ARSWYDOLRWYDD AC ERCHYLLDOD Y FARNEDIGAETH HON: "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw." Nid oes dafod a'i traetha, na chalon a'i dychymyga. Nid oes gan apostol na neb arall ond dywedyd, Peth ofnadwy! Pa mor ofnadwy, nis gwyddom.

Edrychwch ar y saint yn wylo o dan guddiadau wyneb eu Tad am ryw ychydig amser; a cheisiwch amcanu wrth hyn beth fydd y wlad na thywyna llewyrch iddi yn oes oesoedd. "Cuddiaist dy wyneb, a bum helbulus." Nid oedd dim posibl cysgu mewn palas breninol, ond myned allan i'r heolydd i chwilio am yr hwn a hoffai ei enaid. Os yw rhyw niwlach sydd yn tywyllu rhwng y saint a'r nefoedd yn peri y fath fraw a dychryn, beth fydd gorwedd am byth yn y tywyllwch eithaf!

Gallwn gael golwg ar ofnadwyaeth hyn hefyd, wrth edrych ar Fab Duw o dan wg ei Dad gyda ein hachos ni. Pa fodd yr oedd arno yn yr ardd? Ei chwys fel defnynau o waed; mewn ymdrech meddwl; mewn llefain cryf a dagrau. "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu." A pha fodd ar y groes? Ei galon "yn toddi fel cŵyr yn nghanol ei berfedd;" y baich oedd arno yn gwasgu allan yr ochenaid

ddwysgynhyrfiol, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist!" Beth oedd y mater? "Yr Arglwydd a fynai ei ddryllio Ef." Cleddyf yr Hollalluog a'r Cyfiawn odiaeth oedd yn deffro, ac yn taro y Gŵr oedd gyfaill âg ef. Os oes neb yn ammheu haeriad ein testun, edryched i Gethsemane a Chalfaria.

Ac fe rydd agwedd meddwl yr annuwiol yn y byd hwn, ar amserau, ryw gipolwg ar sylwedd ein gosodiad. Dyna garcharor diystyredig yn dywedyd ar gyfiawnder, dirwest, a'r farn a fydd, a Ffelix y barnwr, wrth ei glywed, yn crynu ar ei orsedd. Belsassar, er yn nghanol ei fil tywysogion, ac er yn feddw ar y pryd, dim ond gweled darn llaw yn ysgrifenu ar y pared, heb wybod beth oedd yr ysgrifen, "yna y newidiodd lliw y brenin, a'i feddyliau a'i cyffroisant ef, fel y dattododd rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei liniau y naill wrth y llall." Os ydoedd darn llaw yn ei frawychu mor effeithiol, beth oedd ei deimlad pan y syrthiodd i ddwylaw y Duw byw? Os oedd gwreichionen mor annyoddefol, beth fydd gorwedd mewn llyn o dân yn oes oesoedd? Bechadur, llefa am ddiangfa yn dy ddydd hwn!—"Peth ofnadwy,"—

1. *O herwydd fod gan y Duw byw wybodaeth berffaith o holl ddrygioni y troseddwr.* Gŵyr nifer yr holl bechodau, a beth yw drwg a pha faint yw haeddiant pob pechod. Darfu i hwn a hwn, meddir, drîn ei was yn arw. Do! ond pe gwybuasai y meistr y cwbl, buasai yn arwach na hyny wrth y gwas. "Duw gwybodaeth yw yr Arglwydd;" y mae efe yn gwybod y cwbl yn berffaith. Ofnadwy fydd syrthio i'w law ef. Yr oedd efe yn bresennol pan wnaed pob pechod. Agar yn yr anialwch a ddywedodd, "Ti, O Dduw, wyt yn edrych arnaf fi." Ac am hyny y galwyd y ffynnon yn y lle hwnw, Beer-lahai-roi, sef, ffynnon yr Hwn sydd yn byw ac yn fy ngweled; enw adgas ar bob man y buost ynddo erioed, bechadur. "A mi yn dyst, medd yr Arglwydd." "Canys holl ffyrdd dyn sydd yn ngolwg yr Arglwydd, ac y mae efe yn dal ar ei holl lwybrau ef." Mae hyn yn gymhwysder mawr ynddo fel Duw y farn. "Canys Duw a ddwg bob gweithred i farn, a phob peth dirgel, pa un bynag fyddo ai da ai drwg." Mae ein dirgel bechodau yn ngoleuni ei wyneb ef. Er dy fod di yn awr, bechadur, yn gollwng dros gof dy bechodau, cei olwg gyflawn arnynt ryw ddydd, pan y trefna

Duw hwy oll o flaen dy lygaid. Rhaid dyfod i wyneb y llyfrau. Gwell a fyddai gan yr annuwiol i'r mynyddoedd a'r creigiau ei falu yn chwilfriw, na dyfod i'r golwg; ond rhaid fydd dyfod i'r goleu. Peth ofnadwy fydd myned i law Duw mewn euogrwydd! "Os creffi ar anwiredd, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif?" Neb. "Ond y mae gyda thi faddeuant fel y'th ofner." Diolch iddo! awn at ein Duw ni am faddeuant; mae yn Nduw parod i faddeu.

2. *Gall dwylaw y Duw byw gyrhaedd yr holl ddyn.* Darfu i erlidwyr drîn cyrff y saint yn erchyll lawer tro; eu fflangellu, eu dirdynu, a'u llosgi. Ond er eu gwaethaf, yr oedd y dyn oddimewn allan o'u cyrhaedd. Paul a Silas a gawsant wïalenodiau lawer, a'u bwrw i'r carchar nesaf i mewn, a'u traed yn y cyffion; ond ar hanner nos yr oeddynt yn gweddïo ac yn canu mawl i Dduw. Os oedd eu traed yn rhwym, yr oedd eu hysbrydoedd yn gwbl rydd; er fod eu cnawd dan friwiau, yr oedd eu henaid mewn hwyl i foliannu. Ond dwylaw y Duw byw a gyrhaeddant y corff a'r enaid. Gall boeni pob aelod o'r corff, a hyny yn fwy na dim poenau a gynnyrchwyd gan y clefyd mwyaf angerddol a deimlodd neb erioed; gwaeth na phoen y gymmalwst, y ddannodd, &c. A mwy na hyny: gall Tad yr ysbrydoedd lenwi yr enaid â dychrynfeydd uffern. Onid yw yn rhesymol dywedyd, "Ofnwch yr Hwn a ddichon ddystrywio enaid a chorff yn uffern!"

3. *Ei ddwylaw ef a ddaliant eu gafael yn y colledigion dros holl oesoedd y byd tragywyddol.* Oes Duwdod sydd i boeni y damnedigion. "Lle nid yw eu pryf hwy yn marw, na'r tân yn diffodd." "Y rhai hyn a ânt i gosbedigaeth dragywyddol." "A mŵg eu poenedigaeth hwy sydd yn myned i fyny yn oes oesoedd; ac nid ydynt hwy yn cael gorphwysdra ddydd na nos." Nid oes neb yn uffern yn meddwl y deuant oddiyno byth. Yr oedd y gŵr goludog yno yn gofyn am ddwfr wrth ben bys i oeri ei dafod, ac am ddanfon i dŷ ei dad rhag dyfod o'i frodyr i'r un lle poenus âg ef. Paham nad yw yn gofyn am ryddhâd iddo ei hun? Am y gŵyr mai ofer a fyddai hyny; ei ochenaid ddiobaith ydyw, "Fe'm poenir yn y fflam hon!" Peth ofnadwy yw hyn: gorfod trigo gyda'r tân ysol, a phreswylio gyda'r llosgfeydd tragywyddol! Rhifwch gan' miliwn o flynyddoedd am bob tywodyn, a

gwnewch hyny drachefn am bob glaswelltyn a dyfodd erioed o'r ddaear, ac am bob seren sydd yn y ffurfafen. Pa faint a fyddai y swm? Ond wedi i hyny ddyfod i'r pen, byddai yr oll o dragywyddoldeb ar ol! Diengwch, bechaduriaid, yr awr hon; diengwch rhag y llid a fydd! O! na lefarai Duw, a chyrhaedd rhyw bentewyn o'r tân! O! nad allwn beri i ti glywed, bechadur colledig,—"O herwydd fod digofaint, gochel rhag iddo dy gymeryd di ymaith â'i ddyrnod; yna ni'th wared iawn mawr."

CYMHWYSIADAU:—

1. Mae plant dynion wedi ynfydu; canys "ffyliaid a ymhyfrydant mewn camwedd." Wrth garu pechod, dywedir eu bod "yn caru angeu;" o herwydd "cyflog pechod yw marwolaeth." O wylwn, wylwn yn yr olwg ar ynfydrwydd pechadurus dynoliaeth! Yr ydym yn gweled dynion o'n hamgylch yn ofni pob peth ond yr hyn sydd wir ofnadwy. Digio Duw yw y peth sydd i'w ofni mewn gwirionedd. "Cilio oddiwrth ddrwg sydd ddeall." Clyw, bechadur, lais trugaredd:—"Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac Efe a gymer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd Efe a arbed yn helaeth."

2. Mawr ydyw ein hanghen o gael y wybodaeth oedd gan y Cristionogion gynt. "A ni gan hyny yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion." Gyda gwybod yr ieithoedd gwreiddiol, a'r celfyddydau, bydded hyn at hyny, ac yn fwy na hyny,—gwybod mor ofnadwy ydyw syrthio dan ŵg y Duw Goruchaf. Gwnai hyny i ni "rybuddio bawb ein gilydd, a hyny yn fwy gan ein bod yn gweled y dydd yn nesâu."

3. Tra mawr ydyw ein rhwymau i Fab Duw, yr hwn a redodd i'r adwy i attal y llid atom ni. Neidiodd i'r môr garw i ni gael tawelwch mawr. Diolch iddo! Yr oedd gan ein Machnïydd ddigon o gyfoeth, yn anfeidroldeb ei Berson, i dalu y swm ar unwaith! Gallodd ar y groes ddywedyd, Gorphenwyd! "Ag un offrwm," ac efe ei hun oedd hwnw, "y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio." Ddyledwr heb ddim i dalu, tro dy wyneb at Iesu; a'r Gofynwr a ddywed, "Gollwng ef yn rhydd; myfi a gefais iawn." "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Bu y difeius a'r difrycheulyd farw, a ninnau a gawn

wledda dan amddiffyniad ei waed. "Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw." Y mae rhwymau yn wir ar deulu Sïon i ganmawl yr Iesu; Efe "a'u gwaredodd oddiwrth y digofaint sydd ar ddyfod." Hyfryd yw meddwl y cawn dragywyddoldeb i'w garu a'i glodfori ef!

4. Mae ar bawb sydd yma, annuwiol yn gystal â duwiol, rwymau i fod yn ddiolchgar; a hyny yn arbenig o herwydd dau beth. *Nid ydym eto wedi syrthio i ddwylaw y Duw byw.* Os ydwyf mewn clai tew a phydew erchyll, nid wyf eto yn y pydew diwaelod. Os carcharor wyf, yr wyf er hyny yn garcharor gobeithiol. Diolch! "I'r neb a fo yn nghymdeithas y rhai byw oll, y mae gobaith." —*Y mae modd i beidio syrthio yno byth.* Os oes dylif i fod, y mae arch heddyw i gadw yn fyw. "Ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd i ddamnio y byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo Ef." Cred y dystiolaeth, enaid, ac ni chwympi i farn uffern byth. "Y neb sydd yn gwrandaw fy ngair i," medd Crist, "ac yn credu i'r Hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol; ac ni ddaw i farn, eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Efe a wêl ddydd y farn, ond ni ddaw i farn. Pan y bydd yr udgorn yn canu, a'r Barnwr yn dyfod i agor y brawdlys, gall efe rodio â'i freichiau ymhlêth, am na bydd iddo ef fater i'w dreio y dydd hwnw; "efe a aeth trwodd" yn ddiogel yr ochr yma mewn Cyfryngwr.

5. Caiff y rhai a gymmodwyd â Duw gyflwyno eu hunain yn awr angeu i'w ddwylaw fel eu Tad. Digon iddynt hwy mewn cystuddiau ac yn angeu a fydd "gorchymyn eu heneidiau iddo Ef megys i Grëawdwr ffyddlawn;" a dyweyd a gwneyd fel Stephan dduwiol pan dan y gawod gèryg, "Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd." Arswydo myned at Dduw y mae yr enaid euog; ond hiraethu am Dduw y mae yr hwn a brofodd ei heddwch. Gwynfydedig wyt, O Israel: "Dy noddfa yw Duw tragywyddol, ac odditanodd y mae'r breichiau tragywyddol." Dyna ddigon byth rhyngom a'r perygl. Moliannus a fyddo enw yr Arglwydd! Amen.

# PREGETH XVI.

## TYNERWCH A GRASLONRWYDD GORUCHWYLIAETH Y TESTAMENT NEWYDD, MEWN CYMHARIAETH I ORUCHWYLIAETH YR HEN DESTAMENT.

## GAN Y PARCH. ROBERT THOMAS, BANGOR.

"A'i ddysgyblion ef, Iago ac Ioan, pan welsant, a ddywedasant, Arglwydd, a fyni di ddywedyd o honom am ddyfod tân i lawr o'r nef, a'u difa hwynt, megys y gwnaeth Elias? Ac Efe a drôdd, ac a'u ceryddodd hwynt; ac a ddywedodd, Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych chwi. Canys ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw. A hwy a aethant i dref arall."—LUC ix. 54—56.

CYMERODD yr amgylchiadau a ddarlunir yn y *paragraph* hwn le yn agos i derfyn gweinidogaeth gyhoeddus Iesu Grist—"pan gyflawnwyd y dyddiau y cymerid ef i fyny"—yn nhalaeth Samaria, fel yr oedd Iesu a'i ddysgyblion yn tramwy trwy y dalaeth hono i Jerusalem. Pregethwr teithiol oedd Iesu Grist. Daeth Ef i'r byd i sefydlu goruchwyliaeth y Testament Newydd, ac yr oedd yn anhebgorol anghenrheidiol iddo deithio ar hyd a lled y wlad, i wneuthur egwyddorion yr oruchwyliaeth newydd yn hysbys i'w gydwladwyr. Rhaid i bob diwygiwr deithio llawer, i sefydlu ei egwyddorion mewn gwlad; ond pan wneler hyny, mae teithio llawer i bregethu, er yn dra manteisiol dan rai amgylchiadau, yn dyfod yn llai anghenrheidiol nag o'r blaen. Felly Iesu Grist a "gerddodd oddiamgylch gan wneuthur daioni;" ac i ba gymydogaeth bynag y cyfeiriai ei gamrau, yr oedd bendithion tymmorol ac ysbrydol yn cydymsymud gydag Ef, fel awelon o fywyd, drwy y wlad. Trugaredd i gymydogaeth oedd clywed swn ei draed Ef yn nesâu i'w chyffiniau. Byddai y wlad, a ruddfanai ac a ocheneidiai o'i flaen, yn canu ac yn gorfoleddu o'i ôl, gan liaws y bendithion a dderbyniasai o'i law, wrth iddo fyned trwodd. Ond dyma daith ddiweddaf Iesu Grist o Galilea i Jerusalem wedi dyfod. Gadawsai Galilea am y tro diweddaf y waith hon; a bu raid iddo adael y dinasoedd "yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf

o'i weithredoedd nerthol Ef," heb iddynt edifarhâu, wedi y cyfan. Pwy a all ddarlunio teimladau y Gwaredwr, yn ei ymadawiad â'r parth hwnw y tro hwn? Ei bregeth olaf wedi ei thraddodi, a'i wyrth olaf wedi ei chyflawni, a'r trigolion eto yn nghadwynau cryfion dideimladrwydd ac anghrediniaeth. Peth difrifol ydyw i bregethwr, o deimladau llai eu nerth na'r eiddo ef, ddisgyn o'r *areithfa*, ac yn gwybod ei fod wedi pregethu ei bregeth olaf, mewn ardal lle y pregethodd lawer; a pheth difrifol ydyw i wrandäwr efengyl godi o'i eisteddle, a rhoddi ei droed dros drothwy capel, ac ar yr un pryd yn credu na rydd byth mo'i droed dros y trothwy hwnw mwy. Diau fod teimladau Iesu Grist, wrth adael Galilea y tro hwn, yn annarluniadwy. I Jerusalem yr oedd yn myned. Dinas Dafydd ei dad, dinas y Brenin mawr, oedd y ddinas hono. Teithiasai efe lawer iddi yn ystod ei oes. Ac os oedd llanerch ar y ddaear yn fwy dyddorol iddo na'i gilydd, Jerusalem oedd y llanerch hwnw. Yno y cymerasai Simeon ef yn ei freichiau, yn faban bach. Yno y cawsai ei rïeni ef, wedi hyny, "yn nghanol y doctoriaid, yn gwrandaw arnynt, ac yn eu holi hwynt." Yno yr oedd "tŷ ei Dad;" yno y buasai yr arwydd o'r presennoldeb Dwyfol, yn aros rhwng y cerubiaid, lawer oes; yno yr oedd yr offeiriadaeth, a'r aberthau, y rhai oeddynt gysgodau o hono ef. Yno yr oedd Gethsemane, Calfaria, a'r bedd oedd i dderbyn ei gorff sanctaidd ef; yno yr oedd ef i fyned trwy ei ddyoddefiadau llymaf; ac yno yr oedd i farw. Gwyddai ef y pethau hyn oll. Gwelai y cwmwl du yn ymgasglu; clywai y taranau yn rhuo oddidraw. Yr oedd ing yr ardd, y bradychu, y dirmyg, y goron ddrain, y fflangellu, a chyfyngderau y croeshoeliad, i gyd yn hysbys iddo ef; ond, medd y *paragraph* hwn, "yntau a roddes ei fryd ar fyned i Jerusalem," gan wrol wynebu y dymhestl yn angerdd ei nerth, fel yr oedd yn gweddu i Fab Duw, a Gwaredwr pechaduriaid, i wneuthur.

Arfer Crist wrth deithio fyddai anfon cenadau o flaen ei wyneb, i barotoi ymborth a lletty iddo ef a'i ganlynwyr; ac i hysbysu i drigolion y dinasoedd a'r ardaloedd yr ymwelid â hwy, os oedd ymhlith y preswylwyr ddeillion, cloffion, byddariaid, neu fudion, neu wahangleifion, neu rai wedi eu meddiannu gan gythreuliaid, fod y Meddyg mawr a allai eu hiachâu â gair o'i enau yn dyfod heibio,

ac yn barod i fod at eu gwasanaeth yn rhad. Felly y gwnaeth efe y tro hwn. Anfonodd genadau i dref yn perthyn i Samaria i barotoi iddo ef. Ond yr oedd dadleuon mawrion rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid ynghylch y fan lle y dylasid addoli. Gwel Ioan iv. Mynai yr Iuddewon mai Jerusalem oedd y lle y dylasid addoli ynddo, yn ol ordeiniad Duw ei hun; ond mynai y Samariaid mai ar eu mynydd hwy, Gerizim, yr oedd yn rhaid addoli: a phan ddeallasant fod Iesu am fyned heibio eu teml hwy, i Jerusalem, i'r ŵyl, ni dderbynient ef i dŷ oblegid hyny; er y buasai yn drugaredd i'r dref i Grist roddi ei droed ar ei heol, a chawsai ei gwaredu ganddo oddiwrth bob anhwyl a flinai y preswylwyr. Ond, na! os oedd efe am fyned i Jerusalem i addoli, ni cha'i ef na'i ganlynwyr lettŷ gan y Samariaid rhagfarnllyd hyn.

Iago ac Ioan, yn gweled eu Hathraw yn cael ei drin felly gan yr hereticiaid hyny, a deimlent eu drwg nwydau yn cynhyrfu; a chan gofio fod Elias wedi galw am dân o'r nefoedd i ddinystrio y milwyr a anfonasai brenin Israel i'w ddal ef, a ofynasant i'r Iesu, gan ddywedyd, "Arglwydd, a fyni di ddywedyd o honom am ddyfod tân i lawr o'r nef, a'u difa hwynt, megys y gwnaeth Elias?" Cais llawn o ysbryd erlidigaeth a dïaledd oedd hwn; ond yr Iesu "a drôdd, ac a'u ceryddodd hwynt; ac a ddywedodd, Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych chwi. Canys ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." Yna ymadawodd ef a'i ganlynwyr, gan fyned i chwilio am lettŷ i dref arall.

Y pwnc y gelwir sylw y darllenwyr ato ar bwys y testun, ydyw, MAI GORUCHWYLIAETH DYNER, ESMWYTH, A THRUGAROG, YDYW GORUCHWYLIAETH Y TESTAMENT NEWYDD, MEWN CYMHARIAETH I ORUCHWYLIAETH YR HEN DESTAMENT, DAN BA UN Y BU ELIAS YN GALW AM DAN O'R NEFOEDD I DDINYSTRIO EI ELYNION.

Gwelir gwirionedd y gosodiad uchod yn eglur, wrth ystyried y pethau canlynol.

I. YR AMGYLCHIADAU CYSYLLTIEDIG A GOSODIAD Y DDWY ORUCHWYLIAETH I FYNY.

Tröwn i Lyfr Exodus, ac yno cawn hanes Moses, gwas yr Arglwydd, wedi derbyn ei awdurdod gan Dduw, yr hwn a lefarodd wrtho o ganol tân y berth, ac wedi ei wisgo â'r holl urddas oedd yn anghenrheidiol iddo, fel gwaredwr cen-

edl fawr, yn dyfod i waered o Midian, at frenin yr Aipht, â gwïalen Duw yn ei law, ac yn *demandio* rhyddhâd ei frodyr, yn enw Arglwydd Dduw yr Hebrëaid. "Pwy yw yr Arglwydd fel y gwrandäwn i ar ei lais ef, i ollwng Israel ymaith? Yr Arglwydd nid adwaen, ac Israel nis gollyngaf," ebe Pharaoh. 'Gwnewch eich gwaethaf; myfi bïau yr Aipht; myfi yw Pharaoh; pwy ydych chwi, a phwy yw yr Arglwydd?' Ond wedi troi y Nilus yn waed, a llwch y tir yn bryfaid, a tharo Pharaoh a'i wlad âg ergyd ar ol ergyd, nes i angel Duw o'r diwedd ymsymud drwy y tir, ar adenydd awelon canol nos, a lladd pob cyntafanedig i ddyn ac i anifail, nes oedd gwaeddi mawr drwy holl dir Ham, tra yr oedd Israel yn ddiogel dan arwydd gwaed oen y pasg, yn eu tai hwy,—teimlodd Pharaoh mai gwell oedd gadael iddynt ymadael yn ddioed. Cychwynasant, ac arweiniwyd hwy gan yr Arglwydd, trwy law Moses ac Aaron, mewn colofn niwl y dydd, a cholofn dân y nos (tân wedi ei wisgo â niwl, dybygid) i làn y Môr Coch, a thrwy ei waelodion ar dir sych, i dir Arabia yn ddiogel. Erlidiodd Pharaoh gyda byddin fawr ar eu hol hyd ganol y môr, a dadymchwelwyd ef a'i fyddin yn y dyfroedd cryfion, fel na adawyd o honynt gymaint ag un. Yna, wedi canu mawl i Dduw am y fuddugoliaeth fawr, ar y làn, a'r môr rhyngddynt a thŷ y caethiwed, a'r tònau digllawn yn taflu Aiphtwr ar ol Aiphtwr at eu traed, cychwynasant ar eu teithiau blinion drwy yr anialwch.

Digon tebyg fod y bobl yn dysgwyl y byddent yn ngwlad yr addewid cyn y treulient yr ymborth a ddygasent o'r Aipht ar eu hysgwyddau, sef eu toes heb ei lefeinio. Ond pellach, bellach, i'r anialwch, ac oddiwrth dir cyfanneddol, yr oedd yr Arweinydd dyeithr yn eu tywys yn barhâus. Darfu yr ymborth yn hollol. Wele rhwng dwy a thair miliwn o bobl wedi eu dwyn i byrth y bedd, ac angeu yn tremio yn eu hwynebau, heb obaith ganddynt am ymwared, oni ddeuai ymwared o'r nefoedd. Ond, dacw yr ymwared anghenrheidiol yn dyfod. Os na rydd meusydd Arabia ŷd, fe rydd meusydd y ffurfafen gyflawnder. Os na cheir dim o ysguboriau y ddaear, dacw ysguboriau y nefoedd yn cael eu hagor, a bara angelion, ŷd y nefoedd, yn cael ei gyfranu iddynt yn rheolaidd, wrth eu hanghen, am ddeugain mlynedd. Ond "nid ar fara yn unig y bydd byw dyn." Mae anghenrheidiau

bywyd yn amrywiol; yn enwedig y mae dwfr yn anhebgorol anghenrheidiol. Teimlodd Israel eisieu dwfr cyn iddynt deimlo eisieu bara. Taith sychedig, ar y cyfan, a fu eu taith o'r Môr Coch hyd ardal Mynydd Sinai. Nid oedd ffynnon Marah, wedi ei phereiddio trwy wyrth, fawr o beth i wersyll mor lliosog; ac nid hir y cafodd y bobl aros wrth ffynnonau Elim. Wedi cyrhaedd Rephidim, yr oedd tuchan mawr yn y gwersyll, am nad oedd dwfr i'r bobl i'w yfed. Troes Moses at yr Arglwydd, a dywedodd, "Beth a wnaf i'r bobl hyn? ar ben ychydig eto hwy a'm llabyddiant i." "Cerdda o flaen y bobl," ebe yr Arglwydd, "a chymer gyda thi o henuriaid Israel: cymer hefyd dy wïalen yn dy law, yr hon y tarewaist yr afon â hi, a cherdda. Wele, mi a safaf o'th flaen yno ar y graig yn Horeb; taro dithau y graig, a daw dwfr allan o honi, fel y gallo y bobl yfed." Felly y gwnaeth Moses. Dacw ef yn sefyll ger bron y graig, a henuriaid Israel gerllaw yn dystion o'r olygfa. Cyfododd Moses y wialen, a thebyg fod yr henuriaid yn sibrwd yn nglustiau eu gilydd, Beth a wna ef yn awr? a dry efe graig Horeb yn llyn o ddwfr? Tarawodd Moses y graig, a dacw raiadr trochionog yn rhuthro allan o galon y mynydd, gan ruo wrth ddisgyn, nes oedd y swn i'w glywed drwy y gwersyll, a Moses yn gorfod cilio yn frysiog o'r neilldu, rhag i'r dyfroedd ei foddi yn y fan. Y fath newydd da oedd swn y dyfroedd hyn i wersyll mawr oedd bron marw o syched! Dacw bawb yn cydymsymud ymlaen tua Horeb; ond nid oedd raid teithio ymhell,—daeth yr afon i'w cyfarfod, gan groni yn llynoedd yn y pantleoedd, ac wele ddyn ac anifail yn yfed yn ochrau eu gilydd—yn ymolchi ac yn ymdrochi yn yr afon fawr, a phrawf digonol wedi ei gael y gallai Duw Israel ddiwallu holl anghenion ei bobl yn yr anialwch gwag ac erchyll hwnw.

Ond nid oedd y pethau hyn oll ond parotöad at y pethau oedd i ddilyn. Yr oedd Israel i aros yn nghymydogaeth Sinai amser maith; canys yno yr oedd eu Duw yn myned i osod goruchwyliaeth yr Hen Destament i fyny. Gorchymynwyd i Moses osod terfyn rhwng y bobl a Mynydd Sinai; a pha ddyn bynag a anturiai dros y terfyn, neu a gyffyrddai â'i gŵr ef, a pha anifail bynag a wnai hyny, yr oedd y naill a'r llall i gael eu lladd yn farw, drwy eu llabyddio, neu eu gwanu â phicell. Gorchymynwyd hefyd i'r bobl ymbarotoi, drwy olchiadau a phur-

edigaethau, erbyn y trydydd dydd. Ar y dydd hwnw, ar y boreuddydd, dechreuodd golygfeydd ofnadwy Sinai. Dacw yr Arglwydd yn disgyn ar y mynydd mewn tân mawr, a'r mynydd i gyd yn mygu, a'r fflamau yn dyrchafu i entrych awyr—cwmwl tew, mwg a thân. Ymdreched y darllenydd roddi ei hun yn lle Israeliad ger bron yr Arglwydd yn Sinai. Gwêl y tân, a'r mwg, a'r ddaeargryn fawr; clyw y taranau croch yn rhuo, a gwêl y mellt yn gwau; clyw yr udgorn yn lleisio uwch, uwch, ddyfnach, ddyfnach; a Duw ei hun yn llefaru y "deg gair," o ganol y dymhestl, nes oedd yr holl wersyll yn delwi. Gwêl y dorf yn crynu fel y mynydd ei hun, ac yn mhangfeydd ing a braw, rhwng dannedd llymion marwolaeth, yn llefain ar Moses, „ Llefara di wrthym, a ni a wrandäwn: ond na lefared Duw rhag i ni farw." Wedi marw y buasent, mae yn debyg, oni buasai *tri pheth*. Yr oedd y manna yn parhâu i ddyfod o'r nef; yr oedd y dwfr yn parhâu i ddyfod o'r graig—dau gysgod o Grist; ac fe droes y Llefarydd ar Sinai ei lais am foment, ac fe sicrhäodd ei fod Ef yn "cadw trugaredd i filoedd" o genedlaethau. Y pethau hyn fu moddion bywyd y gwersyll yn safn angeu. Ac mor ofnadwy oedd y golwg, ag y dywedodd Moses—y cymhwysaf ar y ddaear i wynebu y fath olygfa, "Yr ydwyf yn ofni ac yn crynu." Yn awr, bydd pob dyn a ystyrio y pethau hyn, a lliaws o bethau ofnadwy eraill, cysylltiedig â gosodiad yr hen oruchwyliaeth i fyny, yn barod i gyduno â Phaul, pan yn galw yr oruchwyliaeth hono, er ei holl ogoniant, yn "weinidogaeth angeu," ac yn "weinidogaeth damnedigaeth."

Trown eto ddalenau y Testament Newydd, a darllenwn hanes gosodiad goruchwyliaeth yr efengyl i fyny. Yr un Person gogoneddus ag a ymddangosodd ar Sinai, i sefydlu yr hen gyfammod, a ymddangosodd hefyd i sefydlu y cyfammod newydd. Ond yr oedd yr amgylchiadau cysylltiedig â'i ymddangosiad Ef i osod yr oruchwyliaeth hon i fyny, yn dra gwahanol i'r rhai a ddarlunir yn Exodus a Deuteronomium. Yn lle ymddangos yn nghanol tân a mwg, taranau a mellt, fel yn Sinai, wele ef yn faban bychan, wedi ei wneuthur o wraig, a than y ddeddf, yn gorwedd yn y preseb, yn Bethlehem, heb un daran yn amgylchu ei ben, heb un fellten ar amrant ei lygad. Nid oedd un terfyn o amgylch y lle, na pherygl bywyd i neb

nesâu ato ef. Yr oedd angelion, lliaws o lu nefol, holl angelion Duw, a'r holl seintiau, fe allai, wedi dyfod i'r gymydogaeth ar yr amgylchiad pwysig, i addoli y Cyntafanedig. Yr oeddynt yn canu, ond nid udgorn croch Sinai oedd yn lleisio yn meusydd Bethlehem: anthem newydd, wedi ei chyfansoddi gan ryw Handel sydd ymysg cantorion y nef, a genid yn nghlyw y bugeiliaid. Geiriau yr anthem oedd, "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Ni allai y bugeiliaid gofio y dôn, mae yn debyg, ond aeth y llu nefol â hono adref gyda hwy, i'w chanu ar bob amgylchiad ffafriol yn nygiad gwaith prynedigaeth pechaduriaid ymlaen.

Edrychwn ar y Gwaredwr yn mreichiau Simeon yn y deml, ac yn mreichiau ei fam yn myned i'r Aipht, ac yn ôl i Nazareth yn Galilea. Gwelwn ef yn cael ei fagu, yn dysgu darllen ac ysgrifenu, ac yn myned i'r synagog i addoli, yn llaw dyner Mair. Dilynwn ef i weithdŷ Joseph, ac edrychwn arno yn dysgu celfyddyd, i ennill ei fywioliaeth drwy chwys ei wyneb. Nid rhyw dymmor maith a aethai heibio er pan wnaethai ef yr haul, a'r lleuad, a'r ser. Nid rhyw lawer o amser a aethai heibio er pan fuasai ef yn morteisio creigiau Galilea i'w gilydd, yn cafnio lle i'w llyn hi, ac yn gosod yr Atlantic a Môr y Canoldir yn eu gwelyau llydain a hirion; ac yn awr, wele ef mewn agwedd gwas, yn morteisio celfi hwsmonaeth i amaethwyr Galilea.

Yn ddeg ar hugain oed, dechreuodd ar ei weinidogaeth; a chawn ef yn esgyn i fynydd, i esbonio y gyfraith a gyhoeddasai efe ar Sinai. Ond nid oedd yno daranau, na mellt, na chwmwl, na daeargryn, ond perffaith heddwch a thawelwch; y torfeydd yn dylifo i'r mynydd, heb un terfyn yn lluddias neb; a'r Dysgawdwr mawr yn dechreu ei bregeth, drwy gyhoeddi gwynfydedigrwydd dosbarth o bobl, naw gwaith ar ol eu gilydd. Dilynwch ef yn ei weinidogaeth i fwrdd y llong, i'r synagog, ac i'r deml, ac i dai cyfoethogion a thlodion, a sylwch ar ei eiriau grasusol, a'i wyrthiau o drugaredd i drueiniaid, hyd nes y canfyddir ef yn ei waed, ar Galfaria, yn hongian rhwng lladron, ac yn gweddïo ar ei Dad am faddeuant i'r llofruddion a dywalltent ei waed. Wrth ystyried y pethau hyn, mae yn eglur fod goruchwyliaeth y Testament

Newydd yn un dyner, rasol, a thrugarog iawn, yn yr amgylchiadau cysylltiedig â'i gosodiad i fyny.

II. Ystyriwn y ddwy oruchwyliaeth YN EU DYSGIAD YMLAEN.

Yr wyf yn addef yn rhwydd fod goruchwyliaeth yr Hen Destament yn berffaith addas i ateb y dybenion oedd gan yr Arglwydd mewn golwg yn ei gosodiad i fyny. Ammheu hyny fyddai ammheu doethineb yr Anfeidrol Ddoeth. Yr oedd yn ysgolfeistres dda, i dywys y byd i adnabyddiaeth o athrawiaeth maddeuant drwy iawn dros bechod, a phuredigaeth ysbrydol, drwy gymhwysiad at yr enaid o waed Crist, trwy waith yr Ysbryd Glân. Gwaith Duw ydoedd; ac y mae Efe yn gosod y naill beth ar gyfer y llall, fel na all dyn gael dim ar ei ol ef. Wedi y cwbl, peiriant trwm, aml ei olwynion, ac anhawdd ei weithio, iau caethiwed, oedd yr oruchwyliaeth gysgodol.

Dacw amaethwr yn Galilea yn myned i'r maes, ac yn dewis ei anifail i fod yn aberth, ac yn ei yru drwy Samaria i Jerusalem. Bu rai diwrnodau ar y daith. Ond wedi cyrhaedd y brifddinas, dacw ŵr cyfarwydd yn manwl sylwi ar bob modfedd o'r crëadur, ac yn cael allan fod cramen yn rhywle ar ei groen. Rhaid ei newid; ni ellir ei offrymu ar allor Duw. Fe allai mai wedi ei ladd a'i flingo y ceid fod clais dan ei groen, neu rywbeth yn ormod neu ry fychan yn ei dufewnol ranau, yn ei anghymhwyso i wasanaeth y cysegr. Fe aberthwyd myrddiynau o ychain, wyn, ac adar; ond yr oedd yr allor, fel rhyw agendor fawr, yn llyncu y cyfan o'r golwg. Fe ollyngwyd afonydd o waed, digon i nofio llongau rhyfel; ond ni chaed iawn dros bechod. "Heb ollwng gwaed," a gwell ac ardderchocach gwaed, "nid oes maddeuant," oedd llais cyfiawnder o hyd.

Er i ŵr fod yn disgyn oddiwrth Aaron, o deulu Eliezer, ac er iddo fod y dyn mwyaf gwybodus a chrefyddol yn y wlad, os byddai pysen ar ei lygad, neu ryw anaf ar ei gorff, ni allai offeiriadu yn y cysegr. Yr oedd rhai yn cael eu gwahardd i ddyfod i'r cysegr o gwbl, a'r ddegfed genedlaeth iddynt yn cael eu gwahardd. Dengys y pethau hyn oll, a llawer yn ychwaneg a allesid enwi, mai priodol iawn oedd geiriau Pedr yn y cyfarfod yn Jerusalem, gan gynghori y cyfarfod i beidio temtio Duw, drwy ddodi "iau ar warau y dysgyblion, yr hon nid allai ein tadau ni na ninnau ei dwyn."

Mor wahanol yw goruchwyliaeth y Testament Newydd yn ei dygiad ymlaen. Mae pob llanerch o'r byd mor gysegredig a'u gilydd i addoli Duw, a phob dydd gwaith yn ogyfuwch a'u gilydd, heb un sancteiddiach na'r llall; y cysegr yn agored i bawb fel eu gilydd; y llèn wedi ei rhwygo, a rhyddid i bawb i nesâu at yr arch a'r drugareddfa. "Nid oes gwahaniaeth rhwng Iuddew a Groegwr: oblegid yr un Arglwydd ar bawb, sydd oludog i bawb ag sydd yn galw arno,"—pawb yn sefyll ar yr un tir. Wele gynnulleidfa yn dyfod at eu gilydd i addoli Duw. Nid oes neb yn arwain ŷch, nac oen, na neb yn dwyn aderyn i'w aberthu. Caiff yr ychain borfâu a chnoi eu cil, yn y doldiroedd; a'r wyn brancio ar y bryniau, fel y mynont; a'r adar ehedeg o'r coed i'r cymylau, a chanu eu hen dônau, fel yr ewyllysiont: nid oes eisieu un o honynt yn aberth mwy; mae Aberth wedi ei gael, sydd yn eu taflu hwy oll i'r cysgod—Iawn "difai i Dduw!" Darllenir gair yr Arglwydd; cydunir mewn mawl a chlodforedd; neseir at orseddfainc y gras i offrymu ymbiliau, gweddïau, deisyfiadau, a thalu diolch, dros bob dyn; pregethir a gwrandewir yr efengyl, "fel y mae yn yr Iesu;" cyfrana pob un a ewyllysio, "fel y llwyddodd Duw ef;" gweinyddir ordinhadau Cristionogaeth yn eu symledd; ac ymedy y dorf bawb i'w cartrefi, i amgylchu yr allor a'r addysgfa deuluaidd, a phawb yn teimlo fod iau Iesu Grist yn esmwyth, a'i faich ef yn ysgafn iawn.

III. Ymddengys yr un gwirionedd wrth ystyried y BARNAU DINYSTRIOL A FYNYCH DDISGYNENT DAN YR HEN ORUCHWYLIAETH, A'R ARBEDIAD RHYFEDD SYDD DAN YR ORUCHWYLIAETH HON.

Fod gwaredigaethau mawrion dan yr Hen Destament, a gydnabyddir yn rhwydd; ond byddent, yn fynych, yn gysylltiedig â rhyw ddinystr mawr. Heb son yn awr am waredigaeth Noah a'i deulu yn yr arch, a boddiad yr hen fyd; llosgiad Sodom, a gwaredigaeth Lot gyfiawn—y rhai a gymerasant le cyn bod yr Iuddewon yn genedl—mae yr un pethau i'w canfod yn eu hanes hwy, wedi iddynt ddyfod yn genedl.

Gwaredigaeth fawr yn ddiau ydoedd gwaredigaeth Israel allan o'r Aipht. Gwaredwyd cenedl gyfan ar unwaith y pryd hyny. Marchogodd yr Arglwydd ar ei feirch, ac ar gerbydau ei iachawdwriaeth, a llwyr noeth-

wyd ei fwa yn ol llwon y llwythau, sef ei air ef, yn yr amgylchiad rhyfedd hwnw (Hab. iii. 8, 9). Ond os gwaredwyd Israel, fe ysigwyd yr Aipht yn y fath fodd na allodd hi godi ei phen mwy am oesoedd maith. Gwnaed yr Aipht, yn ei chyfoeth a'i chyntafanedigion, ei brenin a'i milwyr, yn iawn dros Israel. Yr oedd y waredigaeth yn gysylltiedig â barnau ofnadwy, a dinystr mawr.

Fe gaed gwaredigaethau rhyfeddol yn yr anialwch, trwy y manna, y dyfroedd o'r creigiau, y sarph bres, a'r cyffelyb; ond, dylid cofio hefyd, fod meibion Aaron wedi eu lladd gan dân oddiwrth yr Arglwydd pan offrymasant dân dyeithr. Llyncwyd Corah, Dathan, ac Abiram, yn fyw i uffern. Cynneuwyd tân Duw yn Taberah i ddyfetha y tuchanwyr. Syrthiodd o Israel yn Sittim, drwy y pla, bedair mil ar hugain, oblegid eu haflendid gyda merched Moab; a llawer o amgylchiadau cyffelyb. Lladdwyd Uzzah yn farw am estyn ei law at arch Duw yn anystyriol, pan oedd yr ychain yn ei hysgwyd yn llawrdyrnu Nachon. Beth pe buasai Duw yn craffu felly ar anwiredd dan yr oruchwyliaeth hon, ac yn gosod ein hanystyriaeth gyda phethau cysegredig yn ein herbyn? buasai rhyw fellten wedi gwneyd ei ffordd trwy ffenestri ein haddoldai, ac wedi ein dyfetha ni er ys llawer dydd. Tarawodd yr Arglwydd Uzziah, brenin Judah, am ei ryfyg yn y deml, â gwahanglwyf yn ei dalcen, yn ngwydd Azariah a phedwar ugain o offeiriaid; a bu yn wahanglwyfus hyd ddydd ei farwolaeth, mewn tŷ wrtho ei hun.

Ond cyfeiria y testun hwn at amgylchiad a gymerodd le yn amser Elias y prophwyd. Ahaziah, brenin Israel, mab Ahab a Jezebel, oedd yn ddyn annuwiol fel ei dad a'i fam. Ond fe syrthiodd y brenin i lawr o'i lofft yn Samaria, ac a glafychodd. Yn ei afiechyd, ac yn ofni marw—fel pob dyn annuwiol mewn afiechyd—efe a anfonodd genadau, nid at brophwyd i'r Arglwydd, nac at offeiriad oedd yn gwisgo Urim a Thummim yn y dyddiau hyny, ond at Baal-zebub, duw Ecron, i ymofyn a fyddai efe byw o'r clefyd hwnw. Pan oedd cenadon Ahaziah wedi cychwyn eu taith tuag Ecron, dywedodd angel yr Arglwydd wrth Elias am fyned i'w cyfarfod hwynt, a dywedyd wrthynt, "Ai am nad oedd Duw yn Israel yr ydych chwi yn myned i ymofyn â Baal-zebub, duw Ecron? Ac am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ni ddisgyni o'r gwely y

dringaist arno, eithr gan farw y byddi farw." Wedi traethu ei genadwri wrth y cenadon, troes Elias ymaith, ac aeth ac a eisteddodd ar ben bryn yn agos i Samaria. Pan oedd y brenin yn tybio fod ei genadon yn prysuro ar eu ffordd tuag Ecron, wele hwy wedi dychwelyd, ac yn sefyll wrth erchwyn ei wely ef. "Paham y dychwelasoch chwi?" ebe y brenin wrthynt. "A hwy a ddywedasant wrtho, Gŵr a ddaeth i fyny i'n cyfarfod ni, ac a ddywedodd wrthym ni, Ewch, dychwelwch at y brenin a'ch anfonodd, a lleferwch wrtho, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ai am nad oes Duw yn Israel yr ydwyt ti yn anfon i ymofyn â Baal-zebub, duw Ecron? O herwydd hyny ni ddisgyni o'r gwely y dringaist arno, eithr gan farw y byddi farw." "Pa ddull oedd ar y gŵr a ddaeth i fyny i'ch cyfarfod chwi, ac a lefarodd wrthych yr ymadroddion yma?" "Gŵr blewog oedd efe, wedi ymwregysu hefyd â gwregys croen am ei lwynau." "Elias y Thesbiad oedd efe," ebe Ahaziah, "hen elyn i'n teulu ni. Efe a ddywedodd y llyfai y cwn waed fy nhad, wrth y llyn yn Samaria; ac y bwytâi y cwn fy mam wrth fur Jezreel: ond, yn awr mi a ddïalaf arno ef am ei eiriau bygythiol yn erbyn fy nhad, a'm mam, a minnau. Pwy ydyw ef i fygwth brenin Israel?"

Wedi y pethau hyn, yn ystafell y brenin, efe a anfonodd dywysog, a deg a deugain o filwyr gydag ef, i ddwyn Elias i waered yn garcharor; ac wele hwy yn dringo y bryn, â'u harfau yn dysgleirio dan belydrau y goleuni; dacw hwy ar ben y bryn, ger bron y prophwyd, yr hwn a eisteddai yn dawel a diysgog, fel derwen, ger bron y gwŷr arfog. "Ti ŵr Duw," ebe y tywysog, "y brenin a lefarodd, Tyred i waered." "Os gŵr Duw ydwyf fi," ebe Elias, "disgyned tân o'r nefoedd, ac ysed di a'th ddeg a deugain." Ar y gair, dyna dân Duw yn rhuthro arnynt, ac yn eu gwneyd oll yn gelaneddau meirwon wrth draed Elias. Ond anfonodd y brenin dywysog arall, a deg a deugain o filwyr, i ddal y prophwyd, a chyrhaeddasant hwythau ben y bryn, a llefarodd y tywysog gyda hyfder, a dywedodd, "O ŵr Duw, fel hyn y dywedodd y brenin, Tyred i waered yn ebrwydd." "Os gŵr Duw ydwyf fi," ebe Elias, "disgyned tân o'r nefoedd, ac ysed di a'th ddeg a deugain;" ac wele y tân yn ail ruthro allan, ac yn eu gwneyd oll yn gelaneddau, ac

draws y rhai a'u blaenasent, â'u harfau yn tincian y naill yn y llall. "Yr Arglwydd sydd ryfelwr." "Pwy a ymgaledodd yn ei erbyn Ef, ac a lwyddodd?" Neb erioed. Ond er clywed o frenin Israel fod cant a dau o'i filwyr wedi eu lladd gan dân o'r nefoedd, wrth air y prophwyd, fe benderfynodd ryfela â Duw tra y caffai ef filwyr a anturient wynebu y fath wrthwynebwr; ac anfonodd y trydydd tywysog ar ddeg a deugain, a'i ddeg a deugain, i gyflawni yr un swydd a'r lleill a laddesid. Hwnw, wedi dyfod i wydd Elias, a ymgrymodd ar ei liniau, ac a ddymunodd, yn y modd mwyaf gostyngedig, am arbediad ei einioes ei hun, ac einioes y milwyr oedd gydag ef; ac fe gafodd arbediad. Ni thery Duw neb fo ar lawr ger ei fron. Dywedodd angel yr Arglwydd wrth y prophwyd am fyned gyda y tywysog a'r milwyr at y brenin. Gwnaeth yntau felly, ac fe gyhoeddodd y ddedfryd arno a gyhoeddasai efe o'r blaen wrth y cenadau; a bu farw y brenin yn ol gair yr Arglwydd. Dyna yr amgylchiadau y cyfeirir atynt yn y testun.

Ond wele ddydd wedi dyfod oddiamgylch, pryd yr oedd Gŵr mwy nag Elias, Arglwydd Dduw Elias ei hun —y Gŵr a anfonasai y cerbyd tanllyd, a'r meirch tanllyd, i drosglwyddo Elias i'r nefoedd heb weled marwolaeth —yn teithio yn flinedig drwy ran o dalaeth Samaria, ac oblegid ei fod yn myned i Jerusalem i'r ŵyl i addoli, yn lle i deml y Samariaid, ni cha'i lettŷ yn y dref y bwriadai aros ynddi; ond cilgwthiwyd ef yn ddirmygus gan y trigolion rhagfarnllyd. Iago ac Ioan, yn teimlo dros anrhydedd ac urddas eu Hathraw mawr, ac yn cofio yr hyn a wnaethai Elias i'w elynion, a ofynasant genad i ddyweyd am ddyfod tân i lawr o'r nef, i ddifa trigolion y dref, yn ol esiampl y prophwyd. "A fyni di ddywedyd o honom am ddyfod tan?" 'Mae y bobl hyn yn haeddu cael eu dinystrio felly, os haeddodd neb erioed; ac y mae yna ddigon o dân eto yn ffwrneisiau y ffurfafen: os rhoi di genad, ni a wnawn fel y gwnaeth Elias, ac a dröwn y dref hon yn Sodom wrth fyned drwodd, fel y byddo yn esiampl o ddigofaint Duw ar dy ddirmygwyr hyd ddiwedd y byd.'

Yr oedd y ddau ddysgybl yn deall natur yr awdurdod a gawsent gan eu Harglwydd yn bur dda. Cawsent awdurdod i iachâu cleifion, i lanhâu gwahangleifion, i gyfodi y

meirw, ac i fwrw allan gythreuliaid; ond nid oedd gair yn y *commission* hwnw yn caniatâu iddynt *ladd* neb. Awdurdod i wneyd daioni, i achub, i gadw, oedd y cwbl. A phe buasai dyn dall yn llefain arnynt am ei olwg, gallasent ddywedyd wrtho yn effeithiol, Cymer dy olwg, heb ofyn un gair i Iesu Grist; pe buasai un gwahanglwyfus yn llefain, oddidraw, am lanhâd, gallasent ddyweyd wrtho, Bydd lân, heb roddi y mater ger bron eu Hathraw; ond gwyddent nad oedd ganddynt awdurdod i ladd, a phan yn meddwl am ladd, gofynent genad i'w Harglwydd; a da y gwnaethant ofyn iddo, oblegid mae ei atebiad ef yn esboniad eglur iawn ar ysbryd goruchwyliaeth y Testament Newydd.

Efe a drôdd atynt, a gallwn fod yn sicr fod digofaint yn ymsymud yn nghanwyll ei lygad Ef. "Ni wyddoch," ebai ef, "o ba ysbryd yr ydych chwi." Fel pe dywedasai, 'Meibion y daran a'r fellten, a ydych chwi yn tybied fy nyfod i ddystrywio eneidiau dynion? Os galwodd Elias am dân o'r nef i ddystrywio ei elynion, ac os rhoddes Duw dân, yn ol ei ddymuniad ef, dan yr oruchwyliaeth o'r blaen, ni ddaw un wreichionen i lawr i ladd neb am eu hopiniynau crefyddol, a'u hymddygiadau mewn canlyniad iddynt, dan oruchwyliaeth Mab y dyn. Ar *ddiwedd* yr oruchwyliaeth fe elwir pawb i gyfrif, ac fe delir i bawb yn ol eu gweithredoedd; ond gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynauaf. Yr wyf fi yn myned i Jerusalem, i dderbyn i'm mynwes holl fellt y ddeddf doredig, ac i'w diffodd yn fy ngwaed; i agor ffynnon yn fy nghalon a ylch Samaria yn lân, oddiwrth y pechod hwn, a phob pechod arall. "Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych." Mae eich iaith a'ch gwedd yn profi fod awydd dial ynoch, a thuedd erlid wedi cymeryd meddiant o honoch, heb yn wybod i chwi; ond ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, a dylai pob cenadwr dros Fab y dyn feddiannu yr un ysbryd mwyn, tyner, trugarog, ag yntau.'

Yn awr, rhaid i bawb addef fod y Samariaid caled hyn yn *haeddu* eu dystrywio, ac na wnaethai Crist gam â hwy pe buasai yn caniatâu i Iago ac Ioan alw am dân i'w dystrywio. Ac, ymhellach eto, fe *allasai* Iesu Grist eu dystrywio. Yr oedd y cleddyf a darawsai yr hen fyd, Sodom, a'r Aipht, o fewn cyrhaedd gafael iddo Ef; ac yr oedd ganddo Ef fraich digon galluog i'w ddefnyddio.

Dim ond iddo Ef ddyweyd gair, buasai y ddaear yn llyncu y dref a'i phreswylwyr i'w chrombil. Gallasai alw y mellt, yr haint, neu y ddaeargryn, allan i'w dyfetha. Ond er eu bod hwy yn *haeddu* eu dystrywio, ac er y *gallasai* Mab y dyn eu dystrywio, arbed y mae Ef. Arbed mawr sydd dan yr oruchwyliaeth hon: dim ond ambell ddafn yn disgyn o gwmwl barnedigaeth yn awr ac eilwaith, i adgofio dynion fod digofaint ar ddyfod, ac y disgyn tymhestl fawr ar fyd y rhai anwir yn y pen draw. Ië, gallasai Ef ddystrywio *eneidiau* preswylwyr y dref hono yn gystal a'u cyrff. Mae ganddo Ef awdurdod, wedi y darffo iddo ladd, i fwrw i uffern; ond arbed mae y tirion, yr hawddgar, a'r addfwyn Iesu Grist.

Ond er fod ysbryd y ddau ddysgybl o'i le, a bod rhywbeth ofnadwy ac echrydus yn eu cais oddiwrth y Gwaredwr; wedi y cwbl, yr ydym yn ddiolchgar am fod y fath gais wedi cael ei wneyd, oblegid rhoddodd gyfle teg i Grist ddangos yn eglur nad yw Ef yn ewyllysio i neb erlid eu cyd-ddynion oblegid eu golygiadau crefyddol, a'u hymddygiadau angharedig o ganlyniad i'r cyfryw olygiadau. *Hereticiaid* oedd y Samariaid hyn; ac fel y cyfryw, mae yn debyg, y mynai y dysgyblion eu dystrywio. Oud ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio. Trueni na fuasai y wers hon wedi ei dysgu yn dda gan y rhai a broffesent ganlyn Crist, yn y gwahanol oesoedd. Gymaint lai o boen a dyoddefaint a fuasai ar y ddaear yn y deunaw can' mlynedd a aethant heibio! Yn lle gwrando ar eu Harglwydd, cawn hwy yn fynych yn dwyn allan yn erbyn eu gilydd holl alluoedd erlidigaeth—megys yspeilio, gwaradwyddo, carcharu, alltudio, a llosgi, yn ddiarbed; a'r Iesu megys yn edrych arnynt o'r nef, a digofaint ar amrantau ei lygaid, ac yn dyweyd, "Gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynauaf. Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych. Ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw."

"I'w CADW." Gadawer i ni, cyn terfynu, ddyweyd gair eto ar hyn: "*I'w cadw.*" Pa le y mae y colledig, yr andwyol, y dyn sydd yn gweled ei drueni a'i golledigaeth? Pa le y mae y dyn sydd yn teimlo ei bla, ac yn cael barn angeu yn ei gydwybod? y dyn sydd yn clywed taranau Sinai yn rhuo, ac yn gweled y mellt yn fflamio allan o gwmwl du Dwyfol fygythion, sydd bron ymdori ar ei ben?

Gwrando, enaid! ni raid dy golli di eto. Mae Iesu wedi dyfod i gadw. Ceidwad oedd Ef yn yr arfaeth foreu. Ceidwad ydoedd Ef yn Methlehem Judea; yn yr ardd, ar ei wyneb yn ei waed; ar Galfaria, rhwng y lladron; a Cheidwad ydyw eto ar ddeheulaw y Tad. Fe gludodd yno yn ei fynwes yr holl deimladau tyner a'i hynodent ef pan oedd ar y ddaear; ac y mae yn y lle mwyaf manteisiol i gadw. Derbyniodd bob bendith anghenrheidiol i gadw; a chan ei fod Ef wedi dyfod i gadw, diau y cedwir llawer iawn. "O lafur ei enaid y gwêl, ac y diwellir."

"*I gadw.*" Pregethau i gadw oedd ei bregethau, gwyrthiau i gadw oedd ei wyrthiau, a gwaed i gadw eneidiau oedd ei waed Ef.

"*I gadw.*" Mae yn y gair hwn lawer iawn: edifeirwch, a maddeuant pechodau; cyfiawnhâd bywyd, trwy gyfrifiad o'i gyfiawnder Ef; sancteiddhâd i ddelw Duw; gras yn gymhorth cyfamserol; nerth yn ol y dydd; goruchafiaeth ar bob gelyn; adgyfodiad o'r bedd; arddeliad yn y farn, a dedwyddwch didranc yn y byd a ddaw.

*Cadw!* Mae holl fendithion trefn iachawdwriaeth wedi eu crynhoi i'r gair hwn. Gymaint mae y pedair llythyren hyn yn ddal! Mae holl ddedwyddwch y drydedd nef yn y gair bychan hwn, ac yn llifo allan o hono, yn afonydd gloewon.

*Colli* yw y gair sydd gyferbyniol iddo. Na ato Duw i ni byth wybod trwy brofiad beth yw cynnwysiad y gair hwnw! Ymddengys fod holl gadwynau, holl daranau, holl fellt, holl ingoedd a gwaeau, holl dywyllwch, tân, ac anobaith, y pwll diwaelod, yn y gair hwn. *Colli!* colli cysur, colli heddwch, colli y nefoedd, colli enaid, colli Duw!

Fe fydd y ddau air, *cadw* a *cholli*, wedi rhanu trigolion y byd yn fuan rhyngddynt a'u gilydd. Yn ngafael pa un o'r ddau y ceir fi a thithau, tybed, ddarllenydd? Mor briodol i ni yw deisyfiad y dysgyblion ar Grist, yn y dymhestl ar Fôr Galilea, "Arglwydd, cadw ni: darfu am danom!"

Wedi y cwbl, gan fod Crist yn Arglwydd nef a daear; yn frenin ar ddynion, angelion, a chythreuliaid; yn llywodraethwr cydwybodau; yn farnwr byw a meirw; yn gyfranwr gwobrau a chosbau yn llywodraeth y nef;—digon prin y buasai yn gweddu iddo Ef adael y ddaear heb roi prawf y gallai ef *ddystrywio* yn gystal a *chadw.*

Un diwrnod, dacw ef yn tynu ei gleddyf o'i wain—yn codi ei law, yn taro, yn lladd. Ond ar bwy y disgynodd yr ergyd? ai ar Judas, Caiaphas, Herod, neu Pilat? Nage ddim. Fe arbedodd eu bywydau hwy, ac fe agorodd ffynnon i'w golchi hwy, a gorchymynodd i'w Apostolion roddi y cynnyg cyntaf iddynt hwy a'u cyffelyb o iachawdwriaeth yn ei waed; ac fe ddystrywiodd *bren*, fe laddodd *goeden*, yn nghymydogaeth Jerusalem, i ddangos y medrai Efe ladd yn gystal a bywhâu a chadw y colledig. Ni thywalltodd Efe waed neb erioed, ond ei werthfawr waed ei hun. I'w enw Ef byth y byddo y clod!

Mae diystyru a gwrthod Crist, dan oruchwyliaeth dyner, drugarog, y Testament Newydd, yn fwy pechod na'i wrthod dan oruchwyliaeth dywell y cysgodau; ac y mae pechu yn erbyn y fath gariad, a'r fath ras, yn gofyn am gosbedigaeth gyfatebol. Parhâu yn y pechod hwn, yna "nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach."

Ymdrechwn am fod, o ran ein hysbryd, yn debyg i Iesu Grist—yn debycach, debycach iddo, nes ein cydffurfio â'i fywyd ac â'i farwolaeth Ef; ac, o'r diwedd, y byddom "yn unffurf â delw ei Fab ef." Yn awr, gan fod Iesu wrth y gwaith o gadw, mae gobaith am y gwaethaf y tywynodd haul arno erioed: mae ffynnon wedi ei hagor i olchi y duaf; mae cyfiawnder wedi ei ddwyn i mewn i gyfiawnhâu yr annuwiolaf; a theyrnas nefoedd wedi ei hagor, o led y pen, o flaen meibion a merched Adda yn ddiwahaniaeth.

# PREGETH XVII.

## DUW YN ARWAIN Y CRISTION.

GAN Y PARCH. DAVID ROWLAND, BALA.*

"A'th gynghor y'm harweini: ac wedi hyny y'm cymeri i ogoniant." —PSALM lxxiii. 24.

YR oedd y Salmydd, pwy bynag ydoedd, pan yn cyfansoddi y Salm hon, o dan arweiniad Ysbryd Duw, yn edrych yn ôl, yn sylwi ar yr amser presennol, ac yn edrych ymlaen i'r sefyllfa ddyfodol. Crëaduriaid ydym ni sydd yn rhaid i ni edrych yn ein hôl. Y mae pob crëadur rhesymol yn gyfrifol i Dduw. Pa fodd bynag y treuli di dy oes, fe fydd rhaid i ti edrych yn ôl. Beth bynag a gawn ni yn y byd yma, os na chawn ni grefydd iawn, fe fydd yn ofnadwy i ni edrych yn ôl. Y mae yn rhaid fod rhyw werth anfeidrol mewn crefydd. Bydd yn werth cofio yr adeg y cefaist afael arni, er mai digon trwstan oeddit. Y mae yn well genym am y llecyn hwnw nag unrhyw ysmotyn arall ar y blaned yma, lle y dywedasom, "Deuwch a glynwn wrth yr Arglwydd trwy gyfammod tragywyddol, yr hwn nid anghofir." Y mae yn well gan aml un o honoch am ryw gymoedd neu fanciau yn yr hen Gymru nag am ddim arall. Y mae yn addas i chwithau sydd eto heb grefydd, weddïo ar i chwi gael rhywbeth yn y cyfarfod blynyddol yma eleni, a fydd yn gysur i chwi edrych yn ôl arno. Y mae miliynau yn y nefoedd yn awr, ag y mae yn gysur iddynt edrych yn ôl ar y pethau a gawsant yn moddion gras. Peth ofnadwy hefyd ydyw edrych ymlaen heb wir grefydd, ac eto rhaid i ni edrych ymlaen. Nid all neb ddirnad cyfyngder yr annuwiol pan yn marw. Rhyw *job* aflawen ydyw marw yn annuwiol. Fe fydd yn rhaid iddo edrych ymlaen; fe fydd tragywyddoldeb o'i flaen, fe fydd y pwll diwaelod o'i flaen. Duw y nefoedd a dosturio wrth bob un o honoch yma heno!

* Traddodwyd y bregeth hon yn Nghymdeithasfa flynyddol Manchester, y Pasg, 1860, ac ysgrifenwyd hi gan gyfaill ieuanc wrth wrando.

Yr oedd y Salmydd yn edrych yn ôl, ac yn cofio rhyw brofedigaethau llymion yr oedd wedi bod ynddynt. Yr oedd wedi gweled yr annuwiol yn llwyddiannus yn y byd, ac yn amlhâu golud, ac yntau yn cael ei faeddu ar hyd y dydd, a'i gerydd yn dyfod bob bore. Yr oedd ef mewn profedigaeth lem iawn. "Minnau," meddai, "braidd na lithrodd fy nhraed; prin na thripiodd fy ngherddediad." Ar ol dyfod ato ei hun, y mae yn galw ei hunan yn ynfyd am wneyd felly. "Mor ynfyd oeddwn, ac heb wybod; anifail oeddwn o'th flaen di." Felly yr oeddwn, "hyd onid aethum i gysegr Duw;" ac yr oedd lampau tragywyddoldeb yn tywynu yno; "yno y deallais eu diwedd hwynt." Os yw yr annuwiol yn llwyddo am lawer o flynyddau, pwy a genfigenai wrtho, gan fod tragywyddol riddfan a gwae yn ei aros wed'yn! Ac os ydyw plentyn Duw, am lawer blwyddyn, â'i gerydd yn dyfod bob bore, ac yn cael ei faeddu ar hyd y dydd, fe gaiff dragywyddoldeb o fwynhâu Duw yn y byd a ddaw, ac yno ni bydd yn gwybod dim byd am y pethau a ddyoddefodd. Y mae gwaith Duw yn ymddwyn fel hyn tuag at y byd, yn profi, i bob dyn ystyriol, ei fod yn grëadur byd arall. Os ydyw Duw yn gadael i'r annuwiol lwyddo yn y byd drwy ei oes, a'i blentyn yn cael ei guro yn nhrigfa dreigiau, onid yw hyn yn rhyw argoel fod sefyllfa ddyfodol i fod, i gosbi yr annuwiol a gwobrwyo y saint? "Am hyny," meddai'r Salmydd, "y dychwel ei bobl ef yma; ac y gwesgir iddynt ddwfr phiol lawn." Y mae llawer o'r dysgedigion yma wedi bod uwchben y geiriau yna yn dal eu pin ysgrifenu yn eu dwylaw, yn misio ysgrifenu dim mewn perthynas iddynt. Ond mi feddyliwn i i'r Archddiacon Prys wel'd y meddwl; ac yr oedd y copi gwreiddiol o'i flaen ef pan yr oedd yn prydyddu, ac yr oedd peth tebyg i'r un ysbrydoliaeth ar yr Archddiacon ag oedd ar ddynion sanctaidd Duw pan yn ysgrifenu y Bibl. Ac fel hyn y mae yr Archddiacon yn cynghaneddu y geiriau hyn:—

"A rhai o'i bobl mewn drwg chwant,
Ymchwelant i'r un yrfa:
A dwfr llwyddiant llawn o'r tir,
A wesgir iddynt yma."

Y mae rhai o bobl Dduw mewn enw, mewn drwg chwant, yn myned i ddynwared yr annuwiol mewn gormod awydd am y byd. Ond y mae llai o berygl crogi am *forgio Bank*

*of England* nag i bobl Dduw fyned i ddynwared yr annuwiol. Yr oedd Jehosaphat yn ddyn duwiol; ond yr oedd yn rhyw ddyn rhy wlanenaidd o lawer; yr oedd o yn rhy fasw o ddim *sense*. Fe aeth i ymgyfathrachu â'r Ahab annuwiol hwnw, lle y dylasai fod yn fwy penderfynol nag ymgyfathrachu â'i fath o. Fe aeth i wneyd yr un cwtws; unodd âg ef i wneuthur llongau i fyned i Tarsis; ond fe ddrylliwyd y llongau yn Ezion-gaber. Y mae yn well i bobl Dduw breswylio eu hunain. Fe fyddai yn well i chwi, y bobl dduwiol yn y dref hon, wneyd felly. Nid ewch chwi ddim ymlaen yn hwylus heb hyny.

Y mae y Salmydd, yn yr adnod o flaen y testun, yn dyfod i sylwi ar ei sefyllfa bresennol. "Eto yr ydwyf yn wastad gyda thi," neu ar lawr y buaswn i. "Ymaflaist yn fy llaw ddehau," onidê colli'r dydd y buaswn. Yna y mae yn edrych ymlaen at y dyfodol, ac yn dyweyd, yn ngeiriau'r testun, "A'th gynghor y'm harweini." Sut y daw hi wed'yn? "Wedi hyny y'm cymeri i ogoniant." Ni raid i ti ddim gofyn cenad neb i gael myned i ogoniant os byddi o dan yr arweiniad; ti fydd pïau fo. Bydd dy rasusau yn addfedu i ogoniant, a thi gai fyn'd yno rhag blaen.

Y mae yn òd iawn gen' i, fod dysgedigion yr oes yma yn haeru nad oedd y sefyllfa ddyfodol ddim yn eglur yn yr Hen Destament. Y mae yn cael ei rhoddi yn eglurach, mae yn wir, yn y Testament Newydd, ond yr oedd hi yn bur eglur yn yr Hen Destament. Yr oedd y sefyllfa ddyfodol yn bur eglur i'r patriarchiaid. Fe wyddai Paul hyny. "Gwlad well," medd efe, "y maent hwy yn ei chwennych;" gwell na Mesopotamia, gwell na Chanaan; "hyny ydyw, un nefol. O achos paham nid cywilydd gan Dduw ei alw yn Dduw iddynt hwy: oblegid efe a barotôdd ddinas iddynt." Hyn oedd yn gwneyd yr hen Abraham mor ddicra hefo'r byd yma. Yr oedd yr Arglwydd wedi rhoi rhyw lanastr mawr o'r byd yma iddo; ond er hyny yr oedd efe yn byw yn ddigon tebyg i *sipsiwn* —mewn pebyll. Aeth yn gynhen, un tro, rhwng ei fugeiliaid ef a bugeiliaid Lot, ac meddai Abraham wrtho, "Na fydded cynhen, attolwg, rhyngof fi a thi." 'Tro ar y llaw a fynoch di, mi dröaf finnau ar y llaw arall; nid wyf fi yn hitio i ba le.' Fe fuasai yn ffitiach i Lot roi'r cynnyg iddo ef, a dyweyd, 'Ti yw'r hynaf; tro di yn gyntaf.'

Ond fel arall y bu hi. Nid oedd Abraham yn gofalu pa ochr i droi. Beth oedd y *secret?* "Dysgwyl yr ydoedd am ddinas âg iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw." Wel, fy nghyfeillion yn Manchester, peidiwch gwneyd eich cartref yn y byd yma; ymofynwch am hawl i'r wlad well, ac yna pan ddaw y diwedd, chwi a gewch fyned at eich pethau. Rhyfedd hefyd fel y mae nhw yn camesbonio Llyfr Job. Y maent yn dyweyd, mai dysgwyl am adferiad yn y byd yma yr oedd Job. Ni choelia i fawr. Nid oedd Job yn dysgwyl na dafad na hespwrn byth. Nid oedd o ddim yn meddwl y cai ef unrhyw adferiad yn y byd yma; ond yn y sefyllfa ddyfodol, a thu draw i'r bedd, yr oedd yn gobeithio am hyny. "Mi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac y caf eto weled Duw yn fy nghnawd," ar ol i angeu wneyd ei waethaf i'm corff. Y mae y meddwl yn annhraethol rhy fawr i'w gymhwyso at bethau y byd hwn yn unig. Y mae mater yr adnodau yn rhy fawr i hyny. Y mae ceisio gwneyd hyny mor afresymol ag a fyddai treio ystwffio'r Wyddfa i *ganister* tê. Y mae y Salmydd hefyd, yn y testun, yn edrych ymlaen at y sefyllfa ddyfodol: "A'th gynghor y'm harweini." Beth ddaw o honot ti wed'yn? Mi ddaw yn well, well, o hyd: "Ac wedi hyny y'm cymeri i ogoniant."

Fy mhobl, mae yn y testun fwy o bethau nag a allaf fi eu crybwyll heno. Y mae ar bobl Dduw anghen Arweinydd yn y byd yma. Y mae ar y praidd anghen bugail; y mae ar y milwyr anghen swyddog; y mae ar y teithiwr anghen arweinydd; y mae ar y dysgybl anghen athraw. Y mae yr Arglwydd wedi addaw arwain ei bobl. Gweddïwch am i chwi gael eich harwain ganddo. "Arwain fi i graig a fyddo uwch na mi." Dyma y Salmydd trwy ffydd, yn y testun, yn rhoddi ei ymddiried yn Nuw hyd ddiwedd ei fywyd. Gallwn, tebygwn, ddwyn y meddwl canlynol o'r geiriau:—

I. A'TH RAGLUNIAETH Y'M HARWEINI.

II. A'TH AIR Y'M HARWEINI.

III. A'TH YSBRYD Y'M HARWEINI.

I. A'TH RAGLUNIAETH Y'M HARWEINI. "Cyfarwyddaf di, a dysgaf di yn y ffordd yr elych: â'm llygad arnat y'th gynghoraf."

Ni a ddylem fyned trwy'r byd yma ar ein gliniau, a chan sylwi ar amneidiau Rhagluniaeth. Craffwch ar eir-

iau y Salmydd duwiolfrydig mewn Salm arall: "Am hyn y gweddïa pob duwiol arnat ti yn yr amser y'th geffir: yn ddiau yn llifeiriant dyfroedd mawrion ni chânt nesâu ato Ef." Y mae yn rhaid iddo wneyd y ddau beth yna, onidê fe ffwndra. Rhaid iddo weddïo a dal ar amneidiau Rhagluniaeth. "Na fyddwch fel march, neu ful," meddai'r Salmydd, "heb ddeall," neu fe fydd raid rhoi plwc a thori dy weflau cyn y diwedd. Ond os gwnai y ddau, ni fethi di mo'r ffordd.

II. A'TH AIR Y'M HARWEINI. "A'th dystiolaethau oeddynt fy hyfrydwch a'm cynghorwyr."

Y mae arnaf awydd gwasgu arnoch, ar ddiwedd y cyfarfod blynyddol hwn. Beth a wnawn ni yn darllen y Bibl yma heb gymeryd ei gynghorion? Beth a wnawn ni yn dyfod i'r oedfäon, ac Iesu Grist yn dyweyd yn niwedd pob oedfa, "Ni fynwch ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd?" Beth a wnaiff dysgu y Bibl a'i adrodd heb ufuddhâu dim iddo? Gweddïwch am i Dduw eich troi, a rhoi bywyd newydd i bob un o honoch. Gobeithio y bydd i'r rhai a ddaethant yma yn cael eu harwain o'r blaen gan amryw chwantau—gan y diafol a'r byd—o hyn allan i ddiwedd eu hoes gymeryd gair Duw yn arweinydd iddynt. 'Hwyrach nad âf fi ddim i'r nefoedd wed'yn,' meddi di. I ba le yr wyt ti'n meddwl yr âi di? Treia di, a thi gei wel'd sut y daw hi. Ni wiw i ti ddysgwyl nefoedd a chymeryd dy arwain gan dy chwantau, ac anufuddhâu i'r efengyl. Clywyd rhai wedi byw yn annuwiol, wrth farw yn treio bablan geiriau Stephan,—"Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd;" ond yr oedd yr ellyllon a wasanaethent wrth fyw, wrth bob rheswm, yn gofyn eu heneidiau yn nhagfa marwolaeth. Ymrown i gymeryd ein harwain gan gynghor Duw. Beth yw hyny? Ymroi i fyw yn dduwiol. Mentra dy fywyd, bechadur, ar angeu y groes, cyn i Dduw dy ddamnio. Dyro dy wddf dan iau y Gwaredwr. Yr wyf yn synu eich bod, rai o honoch, wedi clywed cymaint, eto yn parhâu yn anufudd. Y mae yn destun synu, fod hen wrandawyr am driugain neu ddeng mlynedd a thriugain, yn para i fyw yn anufudd i'r efengyl. Y mae llawer, fu yn cydwrandaw â thi, yn y tân, yn gwaeddi fod yr haf wedi darfod, a'r cynauaf wedi myned heibio, a hwythau heb fod yn gadwedig; tra y mae eraill yn y nefoedd, yn moli Duw am iachawdwriaeth i'w cadw. Yr wyt

ti, trwy barhâu yn anufudd, yn llawarwyddo dy ddamnedigaeth dy hunan; ond hyd yn hyn y mae y Brenin wedi gommedd *signio* y *death warrant*. Yr wyf yn teimlo awydd i roi pwt o weddi fel gwas Abraham gynt, O Arglwydd, agor eu calonau i dderbyn dy Fab!

III. A'TH YSBRYD Y'M HARWEINI. "Y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw."

Ond yn bresennol mi a alwaf eich sylw yn fwy manwl at fater ein testun, yn y dull canlynol:—I ymroddi i'r Arweinydd a'r arweiniad y mae rhyw bethau yn angenrheidiol. Y mae yma rai wedi eu cael, ond bydded iddynt hwy eu cael yn fwy helaeth. Ond y mae yma rai nas gallant ddyweyd y testun hwn. Bydded iddynt hwy gael y pethau hyn, ac yna gallant hwythau ddyweyd y geiriau hyn, "A'th gynghor y'm harweini."

1. *Rhaid i'r pechadur flino ar y man lle y mae.*

2. *Rhaid ei ddwyn i ystyried a theimlo na fedr ef ddim dwyn ei hunan oddiyno.*

3. *Rhaid iddo gael tuedd at wlad arall*—rhaid iddo gael yr anian dduwiol.

4. *Rhaid iddo gael graddau o adnabyddiaeth o'r Arweinydd.* Ac yn

5. *Rhaid ei gadw mewn teimlad o'i anghen am Arweinydd trwy ei oes.* Fe wna i'r saint ganu

"Ni cherdda' i 'n gywir hanner cam
Oni byddi di o fy mlaen."

Pe ceit ti fyw oes Methusalem, ac yn wir fel y byddi di yn tynu at y diwedd, byddi yn sefyll mewn mwy o anghen am arweinydd o hyd. Dyna'r peth cyntaf,—

1. *Rhaid dy ddwyn di i flino ar y fan lle yr wyt.* Nid oes ar neb anghen am arweinydd, hyd nes y daw i wneyd hyn. Tybed nad oes yma lawer yn cloffi rhwng dau feddwl o dan fargod eglwys Dduw? Y maent yn gwrando ar genadon Duw yn eu galw at Iesu Grist, ac y maent yn gwrthod dyfod ato. Ai nid oes yma rywun wedi blino ar fyw yn ddiweddi? Ai nid oes llawer o honoch wedi blino ar y diafol a'i wasanaeth, ac ar gyfeillach yr annuwiol? Dyma y dechreuad—dyfod i flino ar yr hen gyflwr. Nid ydyw dyfod at Dduw fawr o drafferth, ar ol i'r pechadur ddyfod i flino ar y man lle y mae. Onid wyt ti, enaid, wedi blino ar dy fywyd yn y wlad bell fel y

mab afradlawn? Onid yw Duw wedi peri i bawb beidio a rhoi i ti? Ni byddai yn elusen yn y byd iddynt wneyd, pe gwnaent, â lle mor fawr yn nhŷ dy Dad. Ar ol iddo flino ar y man lle y mae, y mae yr afradlawn yn dyfod i waeddi, "Mi a godaf, ac a âf at fy Nhad." Ond y mae efe yn rhy wan i gerdded, heb gael ei arwain. Ond y mae ei Dad yn dyfod i'w gyfarfod, ac yn ei ddwyn adref yn ei fraich. Mi gawsai ei dafodi yn erwin pe buasai wedi dyfod ei hunan, ond gan ei fod yn mraich ei Dad, nid oedd neb yn dyweyd yr un gair yn ei erbyn. Oni ba'i hyny, buasai yr hen *housekeeper*, mae yn debyg, yn gofyn iddo, 'Beth a wnêst ti i'r bwtias topiau cochion hyny oedd am dy goesau yn myned oddiyma? Pa le mae'r *gôt superfine* oedd am danat ti? Nid oes llun dim ar dy wisg di yn awr. Y mae dy goesau di fel priciau edafedd. Golwg welw, sâl, sydd arnat ti heddyw.' A buasai yr hwsmon, dybygid, yn barod i edliw yn gyffelyb. Bendigedig fyddo Duw, ein bod yn gweled cynifer o afradloniaid yn dyfod adref yn mraich eu Tad! Ni fu arnaf fi erioed y fath ofn i ysbryd y brawd hynaf fy meddiannu, â phan yn gweled y carpiau aflawena' yn dyfod adref yn mraich eu Tad. Os oes yma afradloniaid heno, Duw y nefoedd a'ch dygo yn ôl, yn mraich eich Tad!

2. *Rhaid dy ddwyn i deimlo na fedri di ddim dwyn dy hunan oddiyma.* Y mae'n rhaid i ti deimlo hyny, nes llefain gyda yr eglwys yn y Caniadau, "Tyn fi, a mi a redaf ar dy ol." "Dychwel fi," medd yr eglwys yn Llyfr Jeremiah, "a mi a ddychwelir;" nis gallaf fyned fy hunan. Yn adeg y dail a'r blodau, yr ydym gyda chrefydd mewn llawer man yn y dyddiau hyn, ac y mae hono yn adeg beryglus iawn. Y mae yr adeg bresennol yn un werthfawr iawn ar Gymru, ac eto y mae yn un beryglus. Adeg bryderus iawn yw adeg y blodau a'r dail. Un noswaith o farug sydd yn ddigon i wneyd i'r holl flodau wywo, ac felly hwy a gollant dŵf blwyddyn mewn noswaith. Os oes yma rai o honoch chwi, y Cymry, â'r blodau a'r dail yn dechreu tori allan arnoch, gwyliwch fyned allan i'r barug. Gochelwch fyned i gyfeillach annuwiol, yn lle i *hothouse* eglwys Dduw i gael ymgeledd. Wrth ddilyn cyfeillach annuwiol, y collodd llawer y blodau a'r dail oedd arnynt, ac y mae perygl mawr na wnânt ail flaguro mwy. Dowch i'r *hothouse* rhag blaen,

rhag ofn, cyn i chwi gael cynnygiad arall, y byddwch chwi wedi eich symud o'r cyrhaedd am dragywyddoldeb. Gwnewch ddefnydd o'ch breintiau. Gadewch y diafol a'i fyddin; ymofynwch am weddïau a chynghorion teulu Duw, er mwyn i chwi gael chwareu teg i ddyfod ymlaen.

3. *Rhaid i ti gael tuedd at wlad arall;* rhaid i ti gael anian am y wlad well. "Gwlad well y maent hwy yn ei chwennych, hyny ydyw, un nefol." Y mae rhywbeth nas gallaf fi ei ddirnad yn y testun. Y mae Duw, 'ddyliwn i, yn adeg tröedigaeth yr enaid at Dduw—yn adeg yr argyhoeddiad—yn rhoi *direcsiwn* ar yr enaid i ba le y mae i fyned; a dyna'r *direcsiwn*—"I ogoniant!" Dyna lle y mae o i fyn'd. Mi fyddaf yn teimlo tipyn o *interest* pan y byddaf fi yn *station* y *railway* yn gweled rhyw *barcel* wedi ei ddirectio—"*To Holyhead;*" byddaf yn teimlo tipyn mwy os bydd wedi ei ddirectio i Lanrwst, ac yn fwy drachefn os i Ddolgellau y bydd wedi ei gyfeirio; ond byddaf yn lloni mwy fyth os gwelaf "*To Bala*" arno. Ond fe allai y sypyn yna gael ei golli ar y ffordd, neu yn rhai o'r *stations*, neu drwy ryw ddamwain, fel pont Caer yn tori er ys talm. Ond os *booki* di yn iawn yn *station* yr ailenedigaeth, nid oes dim perygl i ti golli wed'yn. Nid oes dim *fall out from grace* os byddi di unwaith wedi *fall in* yn iawn. Byddi yn sicr o fyned yn dy flaen tua Chanaan wlad. Ni wn yn awr am un yn ein hardal ni acw heb ddyfod o Babilon. Yr oedd acw ambell un, yr oeddwn i yn credu fod arno farciau rhy drymion i'w golli; ond fe fu yn hir i'w ryfeddu yn *warehouse* Babilon, nes yr oedd rhai yn dyweyd na chafodd o ddim tro iawn erioed. Atebwn innau, 'Y mae yn syndod genyf fi os na farciwyd o i'r nefoedd;' ond dyna fel yr oedd hi, yr oedd cymaint o lwch wedi myn'd ar y *direcsiwn*, fel nad oedd neb yn medru ei ddarllen. Ond o'r diwedd dyma fe yn dyfod, a hwythau yn dyweyd, 'Yr oeddych chwi'n dyweyd y doe o.' Ac ni welsoch chwi erioed y clecian yr oedd y dôrau pres a'r bàrau heiyrn wrth iddynt ddyfod o hen Fabilon fawr. Hen wrthgilwyr! llefwch am i Dduw eich troi yn ôl. Y mae llawer o blant hen gyfeillion sydd yn y nefoedd yn cael eu *bookio* yn y *station* y dyddiau hyn. Y mae llawer o blant hen deulu Duw wedi cael gweddïo drostynt—ac yr oedd gweddïau ryfeddol ar y *file* yn y nefoedd—yn troi eu hwynebau yn awr tua thŷ y llinyn

coch yn y ffenestr. 'Ond i b'le yr awn ni yn y diwedd?' meddwch chwi. "I ogoniant!—i ogoniant!" "Y rhai a ragluniodd Efe, y rhai hyny hefyd a alwodd Efe; a'r rhai a alwodd Efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhäodd Efe; a'r rhai a gyfiawnhäodd Efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd Efe."

4. *Rhaid i ti gael graddau o adnabyddiaeth o'r Arweinydd.* "Trwy ffydd, Abraham, pan ei galwyd, a ufuddhäodd." Ni chloffodd efe ddim rhwng dau feddwl. Nid ymgynghorodd efe â chig a gwaed. "Efe a aeth allan heb wybod *i ba le* yr oedd yn myned," ond fe wyddai *gyda phwy* yr oedd yn myned. Ond mi allaf fi ddyweyd wrthyt i ba le yr âi di. 'I ba le?' meddi. "I ogoniant." 'Ië,' meddi, 'os wyf wedi fy ethol.' Taw â dy glonc efo'r etholedigaeth. Gwna rywbeth sydd yn dy ymyl. "Mae y gair yn agos atat, yn dy enau ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu: mai os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi Ef o feirw, cadwedig fyddi." Graddau o adnabyddiaeth o'r Arweinydd a'th ddygai di i ymroi i'w arweiniad. Y mae yr Arweinydd yn gwybod y ffordd—rhagluniaeth ac iachawdwriaeth, Efe a'u gwnaeth. Y mae yn caru y sawl mae yn arwain. Y mae yn anfeidrol mewn doethineb; ni wna Efe ddim ond fydd yn oreu i ti. Y mae yn hollgyfoethog. Y mae yn hollalluog—fe dy garia os byddi di yn misio cerdded ambell blwc. Y mae yn un amyneddgar a thirion iawn. "Yr Hwn a dosturia wrthynt a'u tywys, ac a'u harwain wrth y ffynnonau dyfroedd." Ac y mae yn un gofalus iawn hefyd. "Arweiniodd ef o amgylch, a pharodd iddo ddeall, a chadwodd ef fel canwyll ei lygad."

5. *Rhaid dy gadw mewn teimlad o dy anghen am Arweinydd trwy dy oes.* "Hyd henaint hefyd myfi yw; ïe myfi a'ch dygaf hyd oni benwynoch." Yr oedd y Salmydd yn gweddïo, "Na fwrw fi ymaith yn amser henaint; na wrthod fi pan ballo fy nerth." Fel y byddwn yn tynu tua'r diwedd, fe fydd arnom, ar ryw gyfrif, fwy o anghen arweiniad. Ni bydd dim mantais i'r enaid yn y corff; bydd y llygaid yn bŵl; byddi yn methu gweled a chlywed. Fel y byddi di yn nesu i rosydd Moab, fe fydd y sŵn yn dy ddyrysu. Pa faint o werth a fydd Arweinydd y pryd hyny, "pan ballo ffafr pawb a'u hedd?" Chwi fyddwch wedi gweled mwy o werth yn yr Arweinydd nag

a welsoch chwi erioed, cyn y gwelwn ni ein gilydd eto. Y mae pawb yn sefyll mewn anghen am Arweinydd, hyd yn nôd y rhai cryfaf eu synwyr a'u gras. Yr oedd gan y Dr. Chalmers ryw enaid rhyfeddol fawr; yr oedd yn deall trefn y rhod yn well nag yr wyt ti am dai y dref neu'r wlad. Ond er ei fod o'n deall cymaint am yr haul a'r lleuad, a thwr tewdws, a'r llun llong, a'r llathen Fair, a'r cwbl i gyd, yr oedd arno gymaint o anghen Arweinydd i ogoniant â'r hen Abraham y Cennant.

Ymofynwch am yr Arweinydd, a dysgwyliwch mewn amynedd am ei gyfarwyddyd. Dyna y lle yr ewch chwi gydag Ef—"i ogoniant:" i wlad lle mae Duw yn egluro mwyaf o'i ogoniant—i'r drydedd nef. Yno fe fydd dy enaid wedi ei berffeithio; ac yn yr adgyfodiad fe gaiff ei uno â chorff gogoneddus: "Efe a gyfodir mewn gogoniant." Gwaith y saint yn y nef, a fydd rhoddi gogoniant i'r Drindod yn Undod am drefn yr iachawdwriaeth. Y mae credu hyn, yn rhoddi golwg hyfryd i'r saint ar frenin dychryniadau. Angeu a'u cymer hwy "i ogoniant." Nid yw angeu ond gwas Iesu Grist. Y mae angeu ei hunan yn cael ei gynnwys yn *inventory* eiddo personol y saint. "Pob peth sydd eiddoch chwi: ai y byd, ai bywyd, *ai angeu*, ai pethau presennol, ai pethau i ddyfod; y mae pob peth yn eiddoch chwi." Pan y mae y saint yn dyfod i'w hoed, y maent yn cael eu cymeryd i ogoniant. O'n nifer y byddo pob enaid sydd yma! Nid oedd dim rhyfedd i'r hen Williams fyned i herio angeu, gan frolio:—

"Prin y gellir d'wedyd mai ti sy'n dwyn i'r pridd
Y rhai o dan euogrwydd a dynodd Duw yn rhydd;
Eu hangel sydd yn derbyn eneidiau rhai'n i maes,
Yr hwn oedd yn eu gwylio er pan y cawsant ras."

Mae Theomemphus yn glamp o Gristion, pan ddywed:—

"'Rwy 'n awr yn ffrynd i'r pryfed, pan gefais olwg ffydd;
Càn gwell na phalas brenin gan *Theo* wely pridd;
Mi lechaf yn y ddaear; caiff llwch at lwch i fyn'd;
Ond, Angeu, ti gei weled fod Iesu imi 'n ffrynd."

Rhodded yr Arglwydd i ni oll grefydd a fyddo yn gysur i ni wrth fyw, wrth farw, ac i dragywyddoldeb!

# PREGETH XVIII.

## YR HYFRYDLAIS.

GAN Y PARCH. THOMAS PHILLIPS, HENFFORDD.

"Gwyn eu byd y bobl a adwaenant yr hyfrydlais: yn llewyrch dy wyneb, O Arglwydd, y rhodiant hwy. Yn dy enw di y gorfoleddant beunydd; ac yn dy gyfiawnder yr ymddyrchafant."—PSALM lxxxix. 15, 16.

MAE dynolryw yn gyffredinol yn dymuno bod yn ddedwydd; ac y mae y dymuniad hwn yn naturiol ac yn gyfreithlawn. Ond er cymaint sydd yn dymuno hapusrwydd, ac yn llafurio am dano, ychydig iawn sydd yn ei gyrhaedd, ac yn ei wir fwynhâu. Mae miliynau o fodau anfarwol yn dyfod yn fyr o ddedwyddwch gwirioneddol, am eu bod yn ei geisio mewn ffyrdd gwaharddedig, ac mewn gwrthddrychau annigonol. Mewn gwledydd Paganaidd, gwelir lluoedd yn ymgrymu i bren a maen, ac yn rhoddi gwasanaeth ewyllysgar i waith eu dwylaw eu hunain, a'r cwbl i ennill ffafr eu duwiau, ac i gyrhaedd yr hyn a dybiant hwy yn wynfydedigrwydd. I'r un dyben y gwelir canlynwyr y gau brophwyd, ynghyd a deiliaid teyrnas Anghrist, yn cyflawni defodau coelgrefyddol, a hyny weithiau ar lwybr hunanymwadiad, a marweiddiad y cnawd. Yn ein plith ein hunain, canfyddwn dyrfäoedd yn hollol groesi ffordd Duw yn yr ymgais am fwynhâd o wrthddrych eu dymuniad. Ceisia rhai esmwythder yn mhleserau gwag y byd; eraill yn y boddhâd o'u blŷs a'u chwantau naturiol a phechadurus; tra y mae eraill yn cryf obeithio gochelyd uffern, a chyrhaedd y nef, ar gyfrif eu cyflawniadau crefyddol, a rhyw haeddiant personol y tybiant eu bod yn feddiannol arno.

Ond y mae tystiolaethau yr Ysgrythyr, ynghyd a phrofiad lluoedd o ddynion, yn dangos nad oes gwir ddedwyddwch i'w fwynhâu ond yn unig trwy adnabyddiaeth o Dduw yn Nghrist, a'r mwynhâd o hono fel Duw ein

hiachawdwriaeth. Os caniatëir hyn fel gwirionedd diddadl, yna gwelir yn hawdd yr anhebgorol anghenrheidrwydd am ddadguddiad Dwyfol, i wneuthur ffordd dedwyddwch yn amlwg i bawb; ac nid yn unig hyny, ond y gwerth anfeidrol sydd yn y cyfryw ddadguddiad wedi ei gael. Heb y Bibl sanctaidd, buasai pawb yn crwydro mewn anialwch—yn ymbalfalu fel deillion yn y tywyllwch;

"Heb lewyrch dydd, heb obaith gwiw,
Na chymhorth i ni gael."

Heb y Bibl, buasai yn anmhosibl gwybod y ffordd i'r nefoedd, lle y perffaith fwynhëir dedwyddwch. Ond yn nrych y Dwyfol ddadguddiad, gwelir *ffynnon* dedwyddwch, ynghyd a'r *llwybr* i'w fwynhâu. Ynddo hefyd y gwelir pwy yw etifeddion dedwyddwch; oblegid trwy y desgrifiad a rydd o'u profiad a'u hymddygiad, cynnorthwyir ni i farnu pwy sydd yn wynfydedig yn y byd hwn, ac yn debyg o fod yn ddedwydd yn y byd a ddaw. Yn yr ymofyniad am etifeddion hapusrwydd, dylem ymwrthod âg opiniynau y byd cyfeiliornus, a rhoddi heibio dueddiadau hunanol ein calonau twyllodrus, a chymeryd anffaeledig air yr Arglwydd yn rheol ar achos mor bwysig. Nid yw yn anghenrheidiol i fyned ymhell i ymofyn am gymhorth i benderfynu achos ein cyflwr ein hunain, gyda golwg ar hawl a chymhwysder i ddedwyddwch; oblegid yn y testun dywedir, "Gwyn eu byd y bobl a adwaenant yr hyfrydlais;" ac yr wyf yn rhydd i ychwanegu—hwy, a hwy yn unig, sydd yn wynfydedig.

Fel y gallom gael llwybr rhydd at y sylwadau sydd fwyaf yn fy ngolwg, anghenrheidiol yw i ni ymholi at pa beth y cyfeirir yn yr ymadrodd, "*hyfrydlais.*" Fel llawer o destunau eraill, aml a gwahanol yw y golygiadau ar y geiriau hyn. Bernir fod y Salmydd yn cyfeirio at *lawen floedd byddin* wedi cael llwyr fuddugoliaeth ar eu gelynion. Bernir hefyd fod cyfeiriad yma at hyfrydlais *gorfoledd a llawenydd* yr addolwyr Iuddewig ar ddyddiau eu huchelwyliau. Ond yn fwyaf cyffredin, meddylir fod yr ymadrodd yn cyfeirio at sŵn *udgorn y Jubili* yn Israel; a diau mai hyfrydlais oedd hwnw, yn enwedig i gaethion a dyledwyr. A chan mai "cysgod daionus bethau i ddyfod" oedd yr hen oruchwyliaeth, onid yw yn

addas cymhwyso y geiriau hyn i osod allan yr efengyl dragywyddol, a'i gweinidogaeth felus, hyfryd?

Gan gymeryd y rhyddid hwn â'r ymadrodd, sylwaf ar y pethau canlynol?

I. FOD YR EFENGYL YN HYFRYDLAIS.

II. FOD HYFRYDLAIS YR EFENGYL I'W ADWAEN.

III. FOD Y BOBL A ADWAENANT YR HYFRYDLAIS YN WYNFYDEDIG.

I. FOD YR EFENGYL YN HYFRYDLAIS.

Amrywiol ydyw yr enwau trwy ba rai y gosodir allan yr efengyl, yn ei natur a'i heffeithiau, a'r enwau hyny i gyd yn llawn o arwyddocâd. Ond anmhosibl ydyw defnyddio unrhyw ymadrodd mwy cymhwys a phriodol na'r un sydd yn awr dan ein sylw, "hyfrydlais."

1. LLAIS *ydyw yr efengyl.* Ynddi hi mae y Jehofah anfeidrol—y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân—yn llefaru, ac yn llefaru yn eithaf amlwg. Mae yn ddiau ei fod yn llefaru wrth ddynion mewn llawer dull, a thrwy lawer o gyfryngau. Fel *Crëawdwr* galluog, mae yn llefaru wrth ei grëaduriaid trwy y grëadigaeth; ac fel *Cynnaliwr* daionus, mae ei lais i'w glywed yn nhrefn rhagluniaeth; ac fel *Barnwr* cyfiawn, mae yn llefaru wrthym trwy ei ddeddf, a'n cydwybodau ein hunain; ond llais gwell ydyw llais yr efengyl, yn gymaint a bod yn y llais genadwri addas i'n cyflwr fel pechaduriaid euog a cholledig. Er fod yr Arglwydd yn llefaru yn holl waith ei ddwylaw (a gweddus yw i ni ystyried yr holl amlygiadau y mae Efe yn eu gwneuthur o hono ei hun), eto yn yr efengyl, yn unig, y clywir llais *trugaredd* yn galw ar y truenus i dderbyn ymgeledd, a llais *gras* yn gwahodd yr euog i dderbyn maddeuant rhad. Mae llais Duw, yn ei air, yn llais dealladwy i'r gwrthddrychau at ba rai y mae yn cael ei gyfeirio. "Arnoch chwi, wŷr, yr wyf yn galw, ac at feibion dynion y mae fy llais." Pan glywodd ein rhieni cyntaf, ar ol y cwymp, "lais yr Arglwydd Dduw yn rhodio yn yr ardd gydag awel y dydd," ofnasant yn ddirfawr, ac ymguddiasant o'i wydd. Gyda dychryn mawr dysgwylient bob mynyd am gyflawniad eithaf y gosb fygythiol, a meddylient mai i ddybenion barnol yr oedd Duw wedi disgyn i lefaru wrthynt; ond buan y symudwyd eu hofnau, ac y sychwyd eu dagrau. Clywsant lais ceryddol, mae yn wir, a galwyd hwynt i gyfrif manwl

am eu trosedd gwaradwyddus; ond mewn barn cofiwyd trugaredd; llonwyd eu meddyliau isel âg addewid rasol; llefarodd yr Arglwydd wrthynt yn y fath fodd, nes i'w heneidiau deimlo tangnefedd mewn ymorphwysiad ffyddiog ar "Had y wraig." Yr un yw llais yr Arglwydd yn ei air ymhob oes. "Efe a lefara heddwch i'w bobl, ac i'w saint."

Mae yn deilwng o sylw parhâus, mai trwy yr efengyl yn *unig* mae yr Arglwydd yn llefaru yn rasol a chadwedigol wrth bechaduriaid. Wedi selio llyfr y dadguddiad Dwyfol, anhygoel yw fod yr Arglwydd yn llefaru iachawdwriaeth, ac yn cyfranu gras i ddynion, trwy freuddwydion a gweledigaethau nos, neu yn ddigyfrwng o'r uchelder, fel y gwag dybia rhai penboethiaid crefyddol yn ein hoes a'n gwlad. Yn yr efengyl a'i gweinidogaeth, yn llaw, a than arddeliad, ei Ysbryd, y ceir adnabyddiaeth o Dduw, a chymdeithas âg ef fel Duw iachawdwriaeth yn wyneb Iesu Grist. Yma mae yn llefaru yn wahoddiadol, ac yn addewidiol. Gan hyny, "Edrychwch na wrthodoch yr Hwn sydd yn llefaru," &c. (Heb. xii. 25).

2. HYFRYD *lais ydyw yr efengyl.* Fe ymddengys hyn yn eithaf eglur os ystyriwn:—*Fod yr efengyl yn cynnwys ac yn dadguddio cyflawnder o fendithion cyfatebol i holl anghenrheidiau y pechadur; a bod y bendithion hyn yn cael eu cyfranu mewn llwybr cyfaddas i'w sefyllfa dlawd.*

Ymdrechaf egluro hyn trwy gyffelybiaethau dealladwy. Meddyliwch am ddyn wedi troseddu cyfraith ei wlad, a thrwy hyny wedi peryglu, nid yn unig ei ryddid, ond ei fywyd hefyd; canlynwch y dyn hwn i'r llŷs gwladol, lle profir ef yn euog, ac y cyhoeddir y ddedfryd arno gan y barnwr, ac oddiyno i'w garchar tywyll drachefn, i aros dydd y dienyddiad. Edrychwch arno, ar foreu y dydd ofnadwy hwnw sydd i osod diwedd gwaradwyddus ar ei oes ddaearol, ar gael ei arwain o'i gell i'r crogbren. Gofynaf, beth fyddai'r sŵn mwyaf hyfryd yn ei glustiau yn yr amgylchiad annedwydd? Ai sŵn y cadwynau haiarn am ei draed ei hun? ai ynte lleferydd cydymdeimlad oddiwrth ei gydgarcharorion, a'r edrychwyr? Nage; ond clywed y swyddog awdurdodol yn dywedyd, "Greädur condemniedig, na ddigalona, mae dy frenin, o'i hynawsedd, wedi anfon rhyddhâd oddiwrth y gosb." Hyn fyddai yn "hyfrydlais" i'w glustiau ac i'w galon.

Gorlenwai hyn ei feddwl â syndod a diolchgarwch, a braidd na ddawnsiai yn ei gadwynau.

Meddyliwch hefyd am gydgreadur mewn cystudd blin, ei nerth yn pallu, ei gorff yn dra phoenus, a'i feddyliau yn derfysglyd yn edrych ymlaen at awr yr ymddattodiad, pan y bydd yn rhaid iddo adael ar ol y byd a'i bethau; ei wraig yn weddw, a'i blant yn amddifaid. Yn y cyfryw amgylchiad "hyfrydlais" iddo ef fyddai clywed am feddyg galluog ac anffaeledig—un yn eithaf boddlawn i gymeryd arno holl drafferth a thraul ei wellhâd. Ymhellach, hawdd ydyw dychymygu beth fyddai'r sŵn mwyaf hyfryd yn nghlustiau teulu ar drengu o newyn am fara naturiol—neu filwyr ar lewygu mewn brwydr galed—neu deithwyr ar syrthio o ludded. I'r gwrthddrychau hyn, byddai addewid am ymborth—am oruchafiaeth—ac am orphwysfa dawel, yn "hyfrydlais."

Yn nrych y cymhariaethau hyn y gwelir ein cyflwr isel a gwael ger bron Duw, ynghyd a darpariaeth gyfoethog yr iachawdwriaeth ar gyfer ein holl drueni. Beth ydyw yr efengyl ond "hyfrydlais" yn cyhoeddi cyfiawnder i'r euog—cymmod i'r gelyn—maddeuant i'r dyledwr—rhyddhâd i'r carcharor—a meddyginiaeth rad i'r claf ysbrydol? Ië, y mae yn yr efengyl fara i'r newynog, dwfr i'r sychedig, nerth i'r diffygiol, goruchafiaeth i filwr y groes, a thragywyddol orphwysfa gyda Duw i'r blinderog a'r trwmlwythog.

A phan ystyriom fod y bendithion anmhrisiadwy hyn yn cael eu cyfranu ar delerau cymhwys i'n sefyllfa dlawd ac anghenus, ymddengys fod yr efengyl yn fwy teilwng fyth o'i galw yn "hyfrydlais." Mae ei holl fendithion yn *rhoddion rhad*, yn cael eu cyfranu o gariad a gras i'r tlodion, "heb arian ac heb werth." Nid oes gan y cyfoethog na'r tlawd ond un ffordd i ddyfod yn feddiannol ar drysorau gras; a hono ydyw y ffordd—derbyn yn rhad yn y fath fodd ag i'w gwneuthur yn ddyledwyr i rad ras am dragywyddoldeb.

Mae y golygiadau hyn ar yr efengyl, er yn anmherffaith, yn dangos ei bod yn "hyfrydlais." Gyda hyfrydwch y dadguddiwyd hi gan Dduw, ac yr ysgrifenwyd hi gan ddynion sanctaidd; hyfryd ydyw y gwaith o'i chyhoeddi; ac i'r bobl sydd yn ei hadwaen yn brofiadol mae yn "hyfrydlais" yn wir;—"melusach na'r mêl, ac

na dyferiad y diliau mêl;" cryfach weithiau na lleisiau mwyaf swynol byd, y cnawd, a'r diafol:—

"Mae holl leisiau 'r grëadigaeth,
Holl ddeniadau 'r cnawd a'r byd,
Wrth dy lais hyfrydaf, tawel,
Yn dystewi a myn'd yn fud."

Mae hyn yn ein harwain i ddangos yn

II. FOD HYFRYDLAIS YR EFENGYL I'W ADWAEN, NEU EI ADNABOD.

Mae adwaen yr "hyfrydlais," neu adnabod yr efengyl, yn cynnwys amryw bethau; megys darllen ei thystiolaeth—gwrando ei gweinidogaeth—deall a chredu ei hathrawiaeth—profiad o'i gallu a'i rhinweddau grasol—ynghydag ymostyngiad ewyllysgar ac ufudd-dod cydwybodol i'w gorchymynion cyfiawn. Ond yr wyf yn sylwi—

1. Mae adnabod yr efengyl yn cynnwys ei *darllen yn ofalus*. Nid yw yn ormod i mi ddywedyd, fod pawb sydd yn mwynhâu bendithion yr efengyl yn teimlo yn ddyledswydd arnynt, ac yn fraint iddynt, ddarllen a chwilio yr Ysgrythyrau sanctaidd. Dichon fod eto ambell un yma a thraw heb fedru darllen, ac o bosibl heb erioed fod mewn cyfleusdra i ddysgu. Wrth y cyfryw dylem ddywedyd yn aml, *Dysgwch* yn *ddioed*, ac nac ystyriwch eich hunain yn esgusodol nes *ffaelu*, a *ffaelu* ar dir *ymdrechu*. Mae bod heb fedru darllen gair yr Arglwydd, yn wyneb cyfleusderau mor aml, a manteision mor fawr ag a fwynhëir yn y dyddiau presennol, yn dangos anmharch nid bychan i'r Bibl gwerthfawr, a

"Rhyw ddyeithrwch oer, digariad,
At y croeshoeliedig Oen."

Mae y bobl sydd yn adwaen yr "hyfrydlais" yn cymeryd mawr bleser yn ngeiriau Duw—yn eu darllen fel y bydd plant yn darllen ewyllys ddiweddaf eu tad; yn eu holrhain fel y bydd etifeddion yn olrhain *map* o'u hetifeddiaeth; yn eu chwilio gyda manylrwydd, fel y chwilia y mŵngloddwyr am y meteloedd drud yn nghrombil y ddaear. Mae eu "hewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn ei gyfraith Ef y myfyriant ddydd a nos." Iddynt hwy y mae yn fwy gwerthfawr "na miloedd o aur ac arian." "Mwy dymunol nag aur, ie nag aur coeth lawer; melusach hefyd na'r mêl, ac na dyferiad y diliau mêl."

2. Mae adnabod yr efengyl yn cynnwys *gwrandawiad astud ar ei gweinidogaeth.* Mae y gwir Gristion yn edrych ar hyn yn ddyledswydd bwysig, ac yn fraint arbenig. Llawen fydd ganddo glywed eraill yn dywedyd, "Awn i dŷ yr Arglwydd." Gwêl ef yn nghysegr Duw, yn mhyrth merch Sïon, lle y pregethir yr efengyl, ac y gweinyddir yr ordinhadau, ddigon o hawddgarwch i ennill ei feddwl, a denu ei serch, oddiwrth y byd a'i drafferthion, fel y gallo glywed "beth a ddywed yr Arglwydd" trwy y weinidogaeth. Mae y bobl sydd yn adnabod yr "hyfrydlais" yn wrandäwyr cyson a gostyngedig. Gwrandawant, nid oblegid fod y cyfryw *ddyn* yn traddodi, ond oblegid fod yr "Adgyfodiad a'r Bywyd" yn llefaru. Gwrandawant, nid yn rhagfarnllyd a beirniadol, ond yn hiraethlawn am fendith iddynt eu hunain ac eraill. Gwrandawant, a gweddïant ar yr un pryd, a theimlant fod y naill yn gymhorth i'r llall. Ant i dŷ yr Arglwydd, nid oblegid nad oes ganddynt un gorchwyl arall i'w wneyd, ond gwnant hyn yn fater cydwybod ar hyd yr wythnos, yn gystal ag ar ddydd yr Arglwydd. Ant i dŷ Dduw, nid i ddangos eu hunain, nac i weled eraill ychwaith; ond "gyda gwylder a pharchedig ofn," eisteddant dan adsain beraidd gweinidogaeth yr efengyl.

3. Mae adnabod yr efengyl yn cynnwys *deall ei hathrawiaeth ogoneddus.* Nid wyf yn dywedyd fod pawb sydd yn wir dduwiol wedi eu goleuo i'r un graddau am wirioneddau athrawiaethol y gair sanctaidd. Mae sylw beunyddiol yn dangos nad yw hyny yn bod; ac yn y sefyllfa anmherffaith yr ydym ynddi yn bresennol, ni ellir dysgwyl cyttundeb mewn barn, na chydraddoldeb mewn gwybodaeth, am bethau teyrnas nefoedd. Gwyddom yn dda fod llawer o Gristionogion didwyll yn analluog i amgyffred pynciau'r athrawiaeth y maent yn gredu. Nis gwyddant pa fodd i gymmodi pethau sydd yn ymddangos yn anghyson, ac ni fedrant egluro mewn geiriau y golygiadau sydd ganddynt. Ond er fod lluoedd o honynt yn annysgedig, nid oes un Cristion *anwybodus* yn y byd. Mae yn ddiau fod duwiolion yn deall y pethau hyny sydd yn dwyn perthynas uniongyrchol âg iachawdwriaeth eu heneidiau: megys, eu heuogrwydd a'u trueni eu hunain; dwyfoldeb a gogoniant Person y Cyfryngwr mawr; yr anghenrheidrwydd o bwyso ar ei haeddiant Ef yn

unig am waredigaeth oddiwrth bechod a'i ganlyniadau echrysllawn. I'r dyben hwn maent yn derbyn, "nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw, fel y gwypont y pethau a rad roddwyd iddynt gan Dduw." Y mae'r eneiniad a dderbyniasant oddiwrth y Sanctaidd hwnw yn eu dysgu am bob peth anhebgorol i'w bywyd a'u hiachawdwriaeth. Dysgir hwynt i ddywedyd, "Yn ddiau yn yr Arglwydd y mae i mi gyfiawnder a nerth."

4. Mae adnabod yr efengyl yn cynnwys *gredlniaeth brofiadol o'i gwirioneddau.* Ac yn wir, ni byddwn yn well o ddim a ddarllenom, neu a wrandawom, neu a wyddom, oddieithr i ni dderbyn y gwirionedd i'n calon, a chofleidio'r Cyfryngwr mawr â breichiau ffydd a chariad. Yr achos fod cynifer yn gwrando gweinidogaeth oleu yn ddifudd, a mwynhâu breintiau yn ddiymgeledd, ydyw anghrediniaeth—y gwaethaf o bechodau'r oes. Anghrediniaeth a gauodd allan filoedd o'r Israeliaid allan o'r Ganaan ddaearol, a'r un pechod gwaeddfawr fydd yn foddion i gau allan luoedd o'n cydwladwyr o'r Ganaan nefol, a'u suddo i waelodion uffern isod. Tra "yr ydym yn gweled," yn yr hanes Ysgrythyrol, "na allent hwy fyned i mewn oblegid anghrediniaeth," "byddwn ddyfal gan hyny i fyned i mewn i'r orphwysfa hono, fel na syrthio neb yn ol yr un esiampl o anghrediniaeth." O! cofiwn yn barhâus i'r efengyl gael ei hysgrifenu ar y cyntaf, a'i bod yn cael ei chyhoeddi mewn gweinidogaeth yn wastadol, "fel y credoch mai yr Iesu yw Crist, Mab Duw; a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw Ef."

5. Y peth olaf mewn adwaen "hyfrydlais" yr efengyl ydyw *ymarferiad gweithredol â'i dyledswyddau, ac ufudd-dod ewyllysgar i'w chyfreithiau.* Heb hyn nid yw ein crediniaeth ond dychymyg, a'n proffes a'n profiad ddim gwell na thwyll ac oferedd. "Y mae fy nefaid i (medd Crist) yn gwrando fy llais i: ac mi a'u hadwaen hwynt, a *hwy a'm canlynant i.*" Mae llais Crist yn effeithiol i ennill y serch i'w garu, y tafod i'w ganmawl, a'r traed i rodio yn ei ffyrdd. Tra yr ydym yn eich cyfeirio at aberth Crist, a'i gyfiawnder Ef, am iachawdwriaeth, yr ydym yn eich hannog i ufuddhâu llais ei orchymynion—i flaenori mewn gweithredoedd da—ac i lewyrchu mewn sancteiddrwydd. Pa le bynag yr adwaenir "hyfrydlais" yr efengyl, profir ei fod yn "allu Duw er iachawdwriaeth." Dan ddylan-

wadau a dysgeidiaeth hon gwelir y gŵr yn gariadus, a'r wraig yn ostyngedig—y rhieni yn serchus, a'r plant yn ufudd—y meistriaid yn dirion, a'r gweision yn ffyddlawn. Mae gwir wybodaeth o'r efengyl yn egwyddor rymus o ufudd-dod gweithredol. Ceir tystiolaethau o'i heffeithiau grasol yn mhrofiad y galon, yn iaith y tafod, ac yn rhodiad y traed. Gwelir yr holl bobl a adwaenant yr "hyfrydlais," fel Zecharias ac Elizabeth, "yn rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd yn ddiargyhoedd;" ac oddiar brofiad, clywir hwy yn dywedyd, "Ei ffyrdd hi, sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau ydynt heddwch."

Mae hyn yn fy arwain i ddangos—

III. FOD Y BOBL A ADWAENANT YR HYFRYDLAIS YN WYNFYDEDIG. Uwch eu penau hwy y mae y Salmydd yn dywedyd, "Gwyn eu byd;" ac nid yw yn angenrheidiol i ni fyned tu hwnt i derfynau y testun i gael allan ymha beth, neu bethau, y mae eu gwynfydedigrwydd yn gynnwysedig.

1. "*Yn llewyrch dy wyneb, O Arglwydd, y rhodiant hwy.*" Dyma ffafr annhraethol ac anrhydedd anghymharol! Fel Enoch, cânt rodio gyda Duw; a rhodio yn llewyrch ei wyneb; nid yn ngoleuni natur a rheswm—nid yn ngoleuni hanes a dychymyg—ond yn llewyrch wyneb yr Arglwydd ei hun; yr wyneb hwnw sydd yn pelydru goleuni a thrugaredd, "yn llawn gras a gwirionedd." Yn ei oleuni Ef y gwelant oleuni; gwelant bob peth yn ei liw priodol; gwelant holl orchwyliaethau rhagluniaeth a gras dan lywyddiaeth ac arolygiaeth uniongyrchol yr Hwn ag sydd wedi ymostwng i fod yn Dad ac yn Briod iddynt.

2. "*Yn dy enw di y gorfoleddant beunydd.*" Ymha beth yr ymffrostia credinwyr? Ai yn eu teimladau hyfryd, neu eu gweithredoedd da? Pe felly fyddai, mor anwadal fyddai ein llawenydd! Ond caniateir i ni orfoleddu yn *enw'r* Jehofah anfeidrol—yn ei natur rasol, ei gariad annherfynol, ei drugaredd anfesurol, ynghyd a holl dystiolaethau gwerthfawr ei air sanctaidd. Yma y ceir holl achosion a defnyddiau ein gorfoledd beunydd; a phe gallem gloddio yn barhâus yn y mwngloddiau cyfoethog hyn—drachtio yn barhâus o'r ffynnonau hyn—myfyrio gyda dwysder ar gynnwysiad grasol enw ein Duw, ni byddai achos i ni grogi ein telynau ar yr helyg, na "rhodio yn alarus dan orthrymder y gelyn."

3. "*Ac yn dy gyfiawnder yr ymddyrchafant,*" *neu y dyrchefir hwynt.* Sylwch yn fanwl—"Yn *dy* gyfiawnder," nid yn *eu* cyfiawnder eu hunain, y dyrchefir hwynt. Yn y cyfiawnder a orphenwyd ar Galfaria gan y Duw-ddyn, Crist Iesu ein Harglwydd. Bydded i'r Phariseaid hunangyfiawn wrando hyn, a thaflu ymaith eu "dillad budron," a dymuno cael eu gwisgo yn y cyfiawnder a weithiwyd gan Grist, a gymeradwywyd gan Dduw, ac a gyfrifir i holl berchenogion ffydd. Yn y cyfiawnder hwn y *dyrchefir* hwynt; ac os gofynir *o ba le*, ac *i ba le*, mae yn hawdd ateb,—Dyrchefir hwynt o dlodi i gyfoeth, o warth i anrhydedd; o ddyfnder trueni i uchder gogoniant; o ymyl uffern a cholledigaeth i orsedd a pharadwys Duw! Llawenhäed nefoedd, a rhyfedded trigolion y byd, mae yr hapusrwydd hwn yn dyfod i ran pob dyn sydd yn adwaen yr hyfrydlais. Mae yn wir na allwn ddysgwyl hyn ar gyfrif unrhyw haeddiant ynom ein hunain; ond *yn*, a *thrwy*, gyfiawnder Crist, nid oes dim yn rhy fawr i Dduw ei roddi, ac am hyny nid yw yn rhyfyg i ninnau geisio y dyrchafiad hwn; a'i geisio gan ryfeddu y drefn fawr sydd yn codi pechadur colledig i gyflwr diogel, ac i agwedd sanctaidd yn y byd hwn, ac i fwynhâd perffaith o Dduw yn Nghrist yn y byd a ddaw.

CASGLIADAU.

1. Os ydyw yr efengyl yn "hyfrydlais," yna *pa mor ddiolchgar y dylem fod i Dduw pob gras am dani!* Yr ydym wedi ein dyrchafu hyd y nefoedd o ran breintiau. Y mae genym ni, a'n cydgenedl yn gyffredinol, fwy o ragorfreintiau crefyddol, a helaethach manteision ysbrydol, na nemawr genedl dan haul. Mae genym y Bibl sanctaidd yn ein hiaith—mae y rhan fwyaf wedi dysgu ei ddarllen—mae yn hawdd dyfod yn feddiannol arno trwy haelioni y Fibl-Gymdeithas—mae ei bris mor isel, fel ag y gall y tlotaf ei brynu. Mae yr Arglwydd wedi codi offerynau i'w egluro; ac mewn gweinidogaeth oleu, fe glywir llais y durtur nefol yn ein gwlad. O na byddai genym galon i foliannu "yr Arglwydd am ei ddaioni, ac am ei ryfeddodau i ni feibion dynion!"

2. Os ydyw hyfrydlais yr efengyl i'w "adwaen," oni ddylem ni *holi ein hunain yn dra manwl mewn perthynas i'r adnabyddiaeth hon?* Nid yw clywed, na darllen, na phroffesu, yn ddigonol, heb adnabyddiaeth brofiadol o'r

Hwn ag y mae ei adnabod yn fywyd tragywyddol. I'r dyben o gael eglurdeb boddlonol ar hyn, "Profwch chwychwi eich hunain, a ydych yn y ffydd; holwch eich hunain. Ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain, sef bod Iesu Grist ynoch, oddieithr i chwi fod yn anghymeradwy?"

3. Os oes gwynfydedigrwydd yn perthyn i'r bobl a adwaenant yr hyfrydlais, *paham y boddlonwn heb fwynhâd personol a phrofiadol o'r dedwyddwch hwn?* Pethau i'w mwynhâu yn y bywyd presennol ydyw rhodio yn llewyrch wyneb yr Arglwydd, ymorfoleddu yn ei enw beunydd, ac ymddyrchafu yn ei gyfiawnder; a'n dyledswydd ydyw llafurio yn ddyfal am helaethach mwynhâd o'r pethau sylweddol hyn.

Rhodio gyda Duw mewn ffydd, myfyrdod, a gweddi, a ddygai raddau helaeth o'r nefoedd i'n teimlad ar y ddaear. Y profiad hwn i fesur helaethach a'n gwnelai yn fwy boddlawn i ymadael â'r ddaear i fyned yno i fyw; ïe i farw, er mwyn bod gyda Christ, "canys llawer iawn gwell ydyw." Yn y profiad hwn hawdd fyddai genym adrodd, a chanu hefyd:—

"Nid fy nef yw ar y ddaear,
  Pe goreu man tan gwmpas haul;
Fy nef yw tawel bresennoldeb,
  Wyneb siriol Adda 'r ail:
Gwena arnaf, Arglwydd grasol,
  Gwaeddaf allan,—Digon yw;
Yna 'nghanol cyfyngderau
  Byth yn llawen byddaf byw!"

# PREGETH XIX.

## Y GWIRIONEDD YN YR IESU.

### GAN Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM CHARLES, GWALCHMAI.

"Megys y mae y gwirionedd yn yr Iesu."—EPHESIAID iv. 21.

"NA chydymffurfiwch â'r byd hwn" yw un o reolau y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu. O'r byd nid yw y saint; ac "ni a wyddom eu bod o Dduw, ac y mae yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni." Y mae eu gwaedoliaeth yn uchel, ac nid gweddaidd iddynt gydymagweddu â thrachwantau y cnawd. Llywodraethir hwynt gan ddoethineb sydd oddiuchod, yr hon sydd foneddigaidd; felly ni rodiant yn ol helynt y byd hwn. Adnabyddir dilynwyr Duw ymhob oes yn eu hymneillduad oddiwrth y byd annuwiol. Ceir Noah, sydd yn rhodio gyda Duw, yn bregethwr cyfiawnder mewn byd llygredig. Gwelir Lot yn gyfiawn yn Sodoma ffiaidd. Pobl yn preswylio eu hunain yw Israel yn yr anialwch. Pan y plygo lliaws gwastadedd y byd i'r ddelw fawr, safant hwy yn addolwyr y gwir Dduw. A phan y troa cyfreithiau y ddaear yn erbyn galw ar Dduw, safant hwy at "gyfraith y tŷ," sef gweddio yn ddibaid. Gyda bod rhyw amgylchiadau fel yna yn dangos y gwahaniaeth, wrth edrych ar eu bywyd cyffredinol y maent yn neillduedig. Y mae eu meddwl yn buraidd, ac ni rodiant, fel y cenedloedd, yn oferedd eu meddwl. Eu geiriau yn rasol, ac nid segur, fel y byd. Eu hymarweddiad sydd yn y nefoedd, tra mae yr annuwiol yn ymddyeithrio oddiwrth fuchedd Duw. Mae yr ymneillduad hwn yn cael ei gymhell yn fynych yn y gwirionedd. "Deuwch allan o'u canol, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd." Yr un modd y cawn yr Apostol yn tystiolaethu yn yr Arglwydd ar i'r Ephesiaid beidio rhodio, fel y cenedloedd eraill, yn oferedd eu meddwl. Amcan yr Apostol yma oedd eu cyfarwyddo i rodio yn

addas i'r alwedigaeth y galwyd hwy iddi. Mae yn eu cyfarch fel rhai oeddynt gynt ymhell wedi eu gwneuthur yn agos—rhai oedd unwaith yn ddyeithriaid a dyfodiaid wedi eu gwneuthur yn gyd-ddinasyddion â'r saint ac yn deulu Duw; a thuag at eu dwyn i rodio yn addas i'r alwedigaeth, y mae yn tystiolaethu iddynt yn enw yr Arglwydd, trwy ei awdurdod Ef, na rodient fel y cenedloedd eraill, y rhai oedd annychweledig, yn rhodio yn oferedd eu meddwl—yn ymestyn am ddedwyddwch mewn oferedd; oferedd oedd eu holl syniadau am Dduw, a'u holl wasanaeth yr un modd. Wedi tywyllu eu deall am bethau ysbrydol. Wedi ymddyeithrio, mewn serchiadau ac ymarferiad, oddiwrth fuchedd Dduw—nid yn unig y fuchedd y mae Duw yn ei chymeradwyo, ond yr un sydd yn dwyn tebygrwydd i Dduw—trwy yr anwybodaeth sydd ynddynt am bethau Duw, a hollol ddallineb eu calon. "Y rhai wedi diddarbodi," wedi cyrhaedd y gradd pellaf o ddideimladrwydd—eu cydwybod wedi ei serio—"a ymroisant i drythyllwch, i wneyd pob aflendid yn unchwant." "Eithr chwychwi nid felly y dysgasoch Grist"—nid felly y dysgwyd chwi yn egwyddorion Cristionogaeth, "os bu i chwi ei glywed Ef," sef Crist, yn ei air a thrwy ei weision, "ac os dysgwyd chwi ynddo" gan yr Ysbryd, "megys y mae y gwirionedd yn yr Iesu." Y mae yr holl wirionedd ynddo Ef o duedd sanctaidd. Wrth edrych arno yn ei athrawiaeth a'i esiampl, y mae o duedd sanctaidd.

Y mater y mae y testun yn ei roddi i'n sylw ydyw, *y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu yn foddion cymhwys i adferu dynion i ymarweddiad sanctaidd.* Y gwirionedd megys y mae wedi ei egluro yn athrawiaeth yr Iesu, a'i osod allan yn ei fywyd a'i angeu; y dangosiad puraidd o'r gwirionedd yn ei Berson, ei swyddau, a'i waith Ef. "Megys y mae y gwirionedd yn yr Iesu." "Myfi yw y gwirionedd," medd Ef. "Y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist." Trwy air y gwirionedd, "megys y mae yn yr Iesu," yr ennillir dynion yn ffaenffrwyth i Dduw. Ceir yr holl wirionedd dadguddiedig fel cynifer o leiniau yn cyfarfod yn yr Iesu fel un *centre* mawr. Dyma y galon, a phob gwirionedd fel gwythienau ynddi. Cawn y gwirionedd yn yr Iesu yn ei gysylltiadau priodol, er ennill cymeradwyaeth y meddwl. Ar wahân y maent fel

gwahanol elfenau y grëadigaeth, ynddynt eu hunain yn ddinystriol; ond yn yr Iesu cawn hwynt wedi eu cyd-dymheru yn gorff o athrawiaeth iachus. Y mae edrych ar yr holl wirionedd Dwyfol, yn ei berthynas âg un Gwrthddrych mawr, yn fwy dymunol. Diau fod edrych ar weithredoedd natur yn cyflawni eu cylchrediad o amgylch yr haul fel eu *centre* yn hyfryd. Pa faint mwy edrych ar bob gwirionedd yn cadw ei gylchrediad priodol, "megys y mae yn yr Iesu?" Yn y ffordd hon yr oedd yr Apostolion yn dwyn y gwirionedd i sylw dynion. Nid oeddynt yn barnu iddynt wybod dim ymhlith eu gwrandawyr ond Iesu Grist: eto yn "mynegi iddynt holl gynghor Duw," heb attal dim o'r pethau buddiol heb eu mynegi. Crist oeddynt "yn ei bregethu, gan rybuddio pob dyn, a dysgu pob dyn ymhob doethineb;" felly yr oedd llawer yn troi oddiwrth eilunod, i wasanaethu y Duw byw.

I. Ni a gymerwn olwg gyffredinol ar y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu.

II. Ei gymhwysder at ddwyn dynion i fyw yn dduwiol.

I. Y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu.

Mewn golwg gyffredinol ar yr holl Fibl y mae yn dal perthynas â'r Iesu. Pell ydwyf hefyd oddiwrth ddwyn Crist i mewn ar bob achlysur yn yr Ysgrythyrau, a dywedyd ei fod i'w gael ymhob adnod, a chyfeiriad ato ymhob Salm; ac hefyd gymeryd pob peth yn gysgod o hono ag y mae y dychymyg poethlyd yn canfod rhyw debygolrwydd ynddo. Eto wrth sylwi ar ei rediad cyffredinol, y mae yn arwain ato. Ysgrifenydd buan am dano oedd Moses; dwyn tystiolaeth iddo yr oedd y prophwydi; ac wedi dyfod, trwy ei hanes, gan yr Efengylwyr, a thraethu am dano gan yr Apostolion, clöir y llyfr i fyny gydag "Amen. Yn wir, tyred, Arglwydd Iesu!"

1. *Y mae hanesiaeth y gwirionedd yn yr Iesu yn bêrarogl.* Wrth edrych ar hanesiaeth y Bibl, braidd nad oes rhai yn petruso am ddyben yr Ysbryd Glân yn rhoddi cymaint—yr holl ddygwyddiadau yn amser Moses, yr enwau yn y Cronicl, a'r chwyldröadau yn y Breninoedd; ond "yn yr Iesu" deuwn o hyd i'r dyben. Mae y cwbl yn bêrarogl ynddo Ef. Mae edrych ar linell yr achau yn rhedeg trwy hanesiaeth y Bibl, i'w chanolbwynt yn yr Iesu, yn ddigon i swyno un meddwl pruddglwyfus.

Wedi cael mai hâd Abraham a fyddai y Ceidwad, rhaid oedd edrych filoedd o flynyddau am ei ymddangosiad; a phwy na feddyliasai y buasai y gwaed wedi ei gymysgu, yr achau wedi colli yn llwyr, ac anhawsder i adnabod y Ceidwad pan ddeuai? Ond yn lle hyny, cawn ei bod yn rhedeg yn union trwy newyn Canaan, caethiwed yr Aipht, gorthrymderau yr anialwch, a dygwyddiadau gwlad yr addewid—rhanu y freniniaeth unwaith, a symudiad y freniniaeth yn Israel o'r naill deulu i'r llall wyth o weithiau; eto cawn hi yn bur yn Judah, gan mai oddiyno yr oedd y Messïah i ddyfod. Yn nechreu y Cronicl, cyfarfyddwn â'r achau am dros dair mil o flynyddoedd, a rhedodd y gwaed yn bur nes ei gael yn y "Bachgen a aned i ni" yn Bethlehem Ephratah; a hyny mor amlwg, fel y mae Matthew yn olrhain achau Joseph yn gywir hyd Abraham; gan edrych arnynt fel y "bore oleuni" o Abraham hyd Dafydd, ac yn eu *meridian* oddiyno hyd y caethgludiad i Babilon, yna yn *declinio* yn raddol nes cyrhaedd teulu Joseph y saer. A Luc, yntau, a rydd achau Mair am bedair mil o flynyddoedd, gan dawelu y meddwl am darddiad y Messïah oddiwrth Dduw.

Y mae yr holl hanes yn gwisgo tynerwch yn yr Iesu. Mae dychryn y cwymp yn darfod yn swn "Had y wraig" yn Genesis. Ni a ddarllenwn hanes Abraham, eto fel pe na b'ai genym yr un dyben ond cael gweled yr addewid am Grist. Talwn *gompliment* i Melchisedec am ei fendithio, er mwyn ei Had. Beth oedd Esau ond halogedig yn gwerthu ei enedigaethfraint, ac ynddi beth cysegredig? Coffa da am Moses am "ddewis dirmyg Crist o flaen trysorau yr Aipht." Ni a gymerwn ein homer i gasglu y manna yn yr anialwch, gan gofio am "Fara y bywyd." Safwn yn ochr y graig yn Horeb, er mwyn iddi adsain ein llais yn swnio, "A'r graig oedd Crist." Fe fydd cyff Jesse byth mewn bri o herwydd y Blaguryn a ddaeth allan o hono. Ni a newidiwn Jerusalem am Bethlehem Judea, oblegid o honi hi y daeth Tywysog i ni. Mae ein meddwl am redeg i'w ganlyn o Bethlehem, a'i weled yn cymeryd y mynydd yn bulpud, glàn y ffynnon yn orphwysfa, yr ardd yn dŷ gweddi, a'r oruwchystafell yn gysegr; ond o'r cwbl,

> "Pen Calfaria,
> Nac aed hwnw byth o'n côf!"

2. *Y mae prophwydoliaethau y gwirionedd, yn yr Iesu, wedi eu cyflawni.* Rhyw fyrdwn yn hanes ei fywyd Ef ydyw, "fel y cyflawnid yr Ysgrythyr." Yr oedd portread wedi ei dynu gan y prophwydi; yr oedd *outlines* bywyd hardd i'w gweled yn yr Hen Destament; ac er yr anrhydeddid y byd â dynion enwog o oes i oes, nid oedd neb yn cyfateb i'r darlun hwnw. Ond pan daeth cyflawnder yr amser—nid rhyfedd i'r llu nefol ganu!—dyma Fachgen wedi ei eni o forwyn, fel y dywedodd Esaiah; yn Bethlehem Ephratah, fel y dywedodd Micah! Belled rhaid cael doethion i'w addoli, fel y cyflawnid yr Ysgrythyr. Dechreuodd fyw gan gyflawni yr Ysgrythyr. Fel yr oedd yn dringo grisiau ei oes, yr oedd rhyw ysgrythyr yn cael ei chyflawni yn barhâus. Pan y ffôdd i'r Aipht, cyflawnid yr ysgrythyr. Marchogodd i Jerusalem, yn ol y brophwydoliaeth. Pan ddywedodd, "Y mae syched arnaf," atebodd i'r hyn a ddywedwyd gan y prophwyd. A hyd yn nôd wrth ddisgyn i'r bedd, yr oedd ysgrythyr yn dyfod yn llawn. Cyfododd y trydydd dydd, yn ol yr Ysgrythyrau. Ac "i Hwn y mae yr holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo ynddo Ef faddeuant pechodau trwy ei enw Ef." Ti elli fentro ar eu tystiolaeth. Y mae ei fod Ef wedi ateb i gymaint o'u tystiolaethau yn brawf y gwna yn hyn hefyd.

3. *Y mae gorchymynion y gwirionedd yn yr Iesu yn rymus.* Ceir hwynt yn rymus iawn ar Sinai: Duw a lefarodd wrth Israel yno. Ond yn fwy yn yr Iesu, wedi eu cydweu â'r bywyd yn esiampl berffaith o'n blaen. Eu llefaru a gawsant ar Sinai, ond eu byw yn yr Iesu. Yn awr, gelwir arnom i wneyd yn ol geiriau Sinai a gweithredoedd yr Iesu. Y gorchymyn i ostyngeiddrwydd, y mae wedi cael ail fywyd yn y meddwl oedd yn Nghrist Iesu. Y gorchymyn i ogoneddu Duw, llefara yn uchel ar Galfaria, "Er gwerth y'ch prynwyd; gan hyny gogoneddwch Dduw." Maddeugarwch, dangosir ei batrwn; "Megys y maddeuodd Duw er mwyn Crist i chwithau." Y gorchymyn i haelioni, lleda ei wraidd yn ngras ein Harglwydd Iesu Grist. Daeth gorchymyn newydd i mewn yn yr Iesu nad oedd ar Sinai: "Garu o honoch eich gilydd, fel y cerais i chwi." A ni yn gwybod y pethau hyn, gwyn ein byd os gwnawn hwynt!

4. *Y mae addewidion y gwirionedd yn yr Iesu yn sicr:*

"Oblegid holl addewidion Duw ynddo Ef ydynt ïe, ac ynddo ef amen, er gogoniant Duw." "Gan iddo ei gyfodi Ef oddiwrth y meirw y dywedodd fel hyn, Rhoddaf i chwi sicr drugareddau Dafydd." Ni a dderbyniwn addewid yr Ysbryd trwy ffydd yn yr Iesu. Mae holl addewidion Duw i'w cyflawni yn a thrwy Grist. Mae ffyddlondeb Duw yn sicrwydd am eu cyflawniad, a'r Iesu yn sail. Cawn y gwirionedd yn gyfoethog iawn o addewidion. Yr oedd Duw fel yn ymhyfrydu yn addaw yn oesau boreu y byd. Perarogledd Eden, ar ôl sawyr y cwymp, âg addewid, cyn troi Adda ac Efa allan. "Arogl-odd arogl esmwyth" ar aberth Noah trannoeth y diluw, gan roi addewid. Y mwynhâd mwyaf a gafodd Abraham, yn ngwastadedd Mamre, oedd Duw mewn addewid. Arlwyodd ford i Isaac, yn amser y newyn, âg addewid. Dyma y ffon a gysurai Dafydd yn nglŷn cysgod angeu. Mae llyfrau yr Hen Destament yn gyfoethog o addewidion. Gwelwn hwynt fel ystyllod ar fôr yr hen oruchwyliaeth, yn dwyn y teulu i dir yn ddiangol. Ond yn yr Iesu y maent dan sêl. Ar Bren y bywyd y maent yn addfed iawn. Maent yn "amen ynddo Ef." Cyhoeddodd Iesu ail argraffiad o honynt brydnawn cyn dyoddef. Cafodd y dysgyblion ryw ail baradwys gydag Ef: Efe yn addaw, hwythau yn mwynhâu. Dyma y pren oedd ganddo i bereiddio Marah ei ymadawiad yn eu meddwl: addaw peidio eu gadael yn amddifaid —parotôi lle iddynt yn y nefoedd—Dyddanydd arall i aros gyda hwynt yn dragywydd—gadael iddynt dangnefedd. Yr oedd ei chwys fel defnynau gwaed wrth ddisgyn i'r ddaear, yn gwaeddi Amen am eu cyflawni; ïe, ei holl ddyoddefiadau mawrion Ef yn dywedyd Amen wrth addewidion Duw. Mae pethau wedi eu haddaw nas gellir eu cyflawni ond yn yr Iesu. Yr addewid am faddeuant pechodau, yn *channel* goch y gwaed y mae hi yn rhedeg. Y ddyfais i dynu y galon gareg, yn yr Iesu y mae i'w chyflawni. O bydew Bethlehem y ceir dwfr glân i'n taenellu fel y byddom lân. Os myni newid rhyw addewid am y cyflawniad, yn yr Iesu y mae i'w chael.

5. *Mae tystiolaethau y gwirionedd yn yr Iesu yn gyson.* Cawn y gwirionedd yn tystiolaethu am Dduw yn mherffeithiau ei natur, fel un cyfiawn, sanctaidd, doeth, a da; ac fel gosodwr cyfraith hefyd, a dyn fel creadur rhesymol

dan rwymau i ufuddhâu; ac er hyny yn droseddwr gwrthun, ac o ganlyniad tan felldith y ddeddf. Eto tystiolaethir fod y dyn hwnw yn cael ei dderbyn i ffafr Duw, ei gymeradwyo ger ei fron, ei adferu i'w ddelw, a'i fwynhâu yn dragywyddol. Yn yr olwg yma ar y tystiolaethau, onid ydym yn barod i ofyn, pa fodd y dichon y pethau hyn fod? Ond yn yr Iesu y maent yn gyson. Yn yr olwg arno—y peth ydyw rhwng Duw a dynion—y mae y meddwl ystyriol yn barod i addef yn union, 'Mi a wn mai felly y mae.' Ynddo Ef y cawn fygythiad yr hen gyfammod yn cael ei rediad, ac addewid y newydd ei chyflawni—gofynion y ddeddf yn cael eu hateb, ac anghenion yr euog eu llenwi. Gwelwn farwolaeth yn gyflog pechod, ac eto bywyd tragywyddol yn ddawn Duw trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Dyna gyfiawnder yn gweinyddu cosb am bechod, a thrugaredd yn ymgeleddu y pechadur. Yn yr Iesu cawn y dystiolaeth na oddef Duw anwiredd, yn gyson â'r dystiolaeth ei fod yn barod i faddeu; gwelwn y dystiolaeth ei fod yn lânach ei lygad nag y gall edrych ar ddrwg, law yn llaw â'r dystiolaeth ei fod yn derbyn pechaduriaid. Ei lid a dywelltir fel tân, eto y sicrwydd mwyaf mai "Duw cariad yw." Pechod yn cael ei gondemnio, a'r pechadur ei gyfiawnhâu. Efe "yr Hwn a fawrhâ y gyfraith" sydd yn gollwng carcharorion yn rhydd. "Yr enaid a becho, hwnw fydd marw," medd Duw; yn yr Iesu cedwir enaid rhag angeu, a Chadernid Israel heb ddywedyd celwydd. Mae "yn ddigllawn beunydd wrth yr annnwiol," medd y Salmydd; Efe sydd "yn cyfiawnhâu yr annuwiol," medd Paul. Yn yr Iesu y maent yn gyson. Yma y mae Duw yn gyfiawn ac yn achubydd; "yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu."

6. *Y mae gwahoddiadau y gwirionedd yn yr Iesu yn effeithiol.* Ceir "O deuwch i'r dyfroedd" Esaiah, wedi cael *passage* trwy galon Iesu, yn disgyn yn daer ar y meddwl ystyriol. At bwy y try holl gyrau y ddaear eu gwynebau, ond at yr Iesu? Arnoch chwi, wŷr, y mae yn galw; at feibion dynion y mae llais y gwirionedd yn yr Iesu; a "gwrandewch, a bydd byw eich henaid."

Fel hyn yr ydym yn cael yr holl wirionedd yn yr Iesu. Ceir ef yn bur, yn ei symlrwydd a'i eglurdeb yma. Mae gwisg y cysgodau wedi ei thynu oddiam dano, a rhwym

y prophwydoliaethau wedi ei ddattod. Os mynwn gael gafael ar y gwirionedd yn ei burdeb, yn yr Iesu y mae i'w gael. Yn y ffynnon yn gyffredin y mae y dyfroedd buraf; yn y ffrydiau y mae yn cymysgu â llawer o bethau. Felly y gwirionedd: yn yr Iesu y mae yn bur. Y mae wedi llwydo llawer ar ol dyfod trwy beipiau Rhufain Babaidd. Mae ôl Morgan Is y Coed, &c., yn ei faeddu hyd heddyw. Yr ydym yn rhwymedig i lawer o ddynion enwog am eu gwaith yn ei drin, er mantais i'r deall; ond cymysgu tipyn y mae yn nwylaw pawb o'r bron. Awn am dano i lygad y ffynnon: "Megys y mae y gwirionedd yn yr Iesu!"

II. CYMHWYSDER Y GWIRIONEDD MEGYS Y MAE YN YR IESU I DDWYN DYNION I YMARWEDDIAD SANCTAIDD.

Ceir pob gwirionedd ynddo Ef o duedd sanctaidd: y gwirionedd am Dduw—am y ddeddf—am bechod—ffordd cadw—angeu—y farn a thragywyddoldeb. Maent yn yr Iesu yn cynnyrchu sancteiddrwydd. Dyma ein gobaith am gael y byd i drefn—y gwirionedd, yn llaw Ysbryd Duw, "megys y mae yn yr Iesu!"

1. *Y mae cymhwysder ynddo fel moddion argyhoeddiad.* A dyma yw dechreuad bywyd sanctaidd yn yr enaid. Dyma waith dydd cyntaf y grëadigaeth newydd, "Bydded goleuni." Y mae gobaith cael yr afradlawn adref, ond ei ddwyn ato ei hun. Mae yr argyhoeddiad yn dwyn dyn i feddwl yn iawn am Dduw a'i ddeddf—am dano ei hun a phechod; ac i weithredu yn ol y meddwl hwnw—agoryd ei lygaid a'i droi. Yr ydym yn cymeryd yr argyhoeddiad mewn ystyr helaeth, fel agoriad drws i'r cyfnewidiad mawr hwnw ar ddyn, a elwir yn y Bibl yn aileni—yn grëu yn Nghrist Iesu. Dangosodd yr Iesu anghenrheidrwydd mawr am hyn: mor anghenrheidiol i Nicodemus foesol a Zaccheus gybyddlyd. Mae yr un anghenrheidrwydd arnom ninnau. Cael rhywbeth i'w effeithio a fyddai yn dda! Ond i dân argyhoeddiad chwalu yr hen graig, y mae gobaith am feini bywiol i'r deml. Ond toddi dynion yn ffwrn edifeirwch, hwy redant i *fold* ymarweddiad sanctaidd. Mae y gwirionedd "megys y mae yn yr Iesu" yn gymhwys at hyn. "Gwybodaeth gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist" a ddwg ddynion i ffieiddio eu hunain, ac edifarhâu mewn llwch a lludw. Mae y ddeddf gyda'r fath ysbrydolrwydd yn yr Iesu, fel y mae pechod

yn adfywio, a'r dyn yn marw tan ei ddwylaw. Gwelir uffern yn erchyll oddiyma. Tynodd yr Iesu y llèn oddiarni, fel y mae y pryf na bydd marw yn y golwg, y tân na ddiffydd yn cynneu, a'r goludog ynddo heb ddyferyn o ddwfr! Pwy na ffoai rhag y llid a fydd? Gwelir y nefoedd hefyd yn ei gogoniant, fel y mae llawer yn cyrchu at y nôd. Rhyw beiriant mawr ysbrydol at droi yr enaid yw y gwirionedd yn yr Iesu. Mae wedi ei osod yn drefnus i weithio ar gryfder anystyriaeth y meddwl. Mae y ddeddf yn cyd-daro â'r efengyl—yr addewid wrth odreu y bygythiad—Gerizim yn dal y fendith ar gyfer Ebal a'i felldith—Sinai yn taranu yn ngolwg Calfaria wedi ei gochi â gwaed—yr efengylwr yn cydlefaru â'r Boanerges—phiol y fendith yn cael ei hestyn heibio i gwpan gwae. Fe'n gelwir at ffynnonau iachawdwriaeth i ochel cerwyn digofaint. Bellach, ond i law yr Arglwydd gydweithio, fe fydd i lawer gredu a throi at yr Arglwydd. Mae yn foddion anffaeledig yn llaw Ysbryd Duw. Tywalltiad o'i Ysbryd i roi llygaid y bobl i edrych ar yr Hwn a wânwyd, a'u gwna yn afonydd o ddagrau! "Galarant hefyd am dano—ïe, galar mawr fel galar Hadadrimmon yn nyffryn Megidon" am Josiah. "A'r dydd hwnw y bydd ffynnon wedi ei hagoryd" o werth mawr. Yn ngwres Calfaria fe â y gallestr yn llyn dwfr. Mae "ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu" yn gwneyd hunangyfiawnder yn dom a cholled. Y mae wedi ei brofi yn effeithiol. Dacw Pedr yn cyhoeddi y gwirionedd yn yr Iesu ar ddydd y Pentecost, a phrophwydoliaeth Joel yn rhoi ei chynnwys; fe ddwysbigwyd tair mil yn eu calonau. Pan dreiwyd yr un moddion ar yr hen Genedloedd yn nhŷ Cornelius, a'r Ysbryd Glân yn syrthio, mawrygu Duw fu y canlyniad. Y "goleuni o'r nef" a daflodd yr hen erlidiwr i lawr. Ond clywed "myfi yw Iesu" a'i hystwythodd i ofyn, "Beth a fyni di i mi ei wneuthur?" Mae arfau yr Apostolion wedi eu gadael i ni. Trwy Dduw y maent yn nerthol!

2. *Y mae cymhwysder ynddo fel maeth i fywyd sanctaidd yn gyffredinol.* Trwy y groes yr oedd y byd wedi ei groeshoelio i Paul, ac yntau i'r byd. "Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd," medd Crist. Ac fe sancteiddir yr eglwys "â'r olchfa ddwfr trwy y gair." Mae "y gwirionedd yn yr Iesu" yn foddion sancteiddio, fel cynllun perffaith o fywyd sanctaidd; fel drych ymha un y mae ymdrwsio

mewn ymarweddiad sanctaidd. Caria y gwaith ymlaen trwy yr effaith a gâ ar y meddwl. Cyferfydd "y gwirionedd yn yr Iesu" â holl anghenrheidiau teulu Duw. Nid Abraham gryf ydynt oll. Mae y gwan yn y ffydd yn eu plith. Mae rhai llesg yn y llwythau. Mae y darfedig a'r friwedig ymhlith y praidd—y gorsen ysig ymhlith y planigion. Ceir rhai ar elorfeirch yn dyfod o Babilon; rhai bach yn Nghrist. Ond mae yn y gwirionedd bethau cymhwys iddynt oll. Caiff y baban laeth, a'r perffaith fwyd cryf. Caiff yr ieuanc ei fagu, a'r hen ddysgybl ei waith. Dyma arweinydd cywir trwy'r anialwch. Yma ceir cyfarwyddyd i'r fordaith. Dyma arfogaeth i'r rhyfel ysbrydol. Mae pob peth bywyd duwiol ynddo. Rhyw drysordŷ mawr ydyw, â phob peth ynddo at anghenrheidiau bywyd duwiol. Mae y gwirionedd yn yr Iesu yn rhoi dadl yn ngenau y Cristion, pa un a ddefnyddia at gael ei holl anghenrheidiau: "Pa beth bynag a ofynoch i'r Tad yn fy enw, fe fydd i chwi." Mae enw Iesu yn agoriad i holl addewidion mawr iawn a gwerthfawr y Bibl.

2. *Mae y gwirionedd yn yr Iesu yn effeithiol i ostegu ammheuon yr enaid.* Ceir meddwl y Cristion, yn aml, fel môr tymhestlog gan ammheuon: ei donau yn gryfion, yntau yn soddi ynddo, gan waeddi, "Cadw fi! darfu am danaf!" Gair yr Iesu a'i gwna yn "dawelwch mawr" y diwrnod hwnw. Llawer dyn duwiol wrth rodio at yr Iesu hyd fôr y byd, y mae gwynt cryf ammheuon yn peri iddo suddo, fel y bydd yn rhaid i'r Iesu estyn ei law trwy ryw wirionedd i ymaflyd ynddo, gan ddywedyd, "Tydi o ychydig ffydd, paham y petrusaist?" Mae y gwirionedd wedi ei drefnu i gyfarfod pob curo ar y meddwl. Pan fo cydwybod yn cyhuddo, gwaed Crist a'i pura. Aflendid y natur yn peri i'r dyn gwynfan, "Aflan! aflan!" "gwaed Iesu Grist sydd yn glanhâu," medd y gwirionedd. Wrth fyw yn swn y gwirionedd y mae yr enaid yn dyfod i sibrwd hyder. 'Gallaf obeithio cael byw,' meddai; 'y mae marw rhyfedd wedi bod ar Galfaria yn fy lle! Mae rhinwedd rhyfedd yn y gwaed; mi benderfynaf, ond i mi gael cyffwrdd âg ymyl ei wisg Ef, iach fyddaf!'

3. *Y mae yn cryfhâu yr ymdrech yn erbyn pechod.* I'r graddau ag y mae y meddwl yn canfod drwg pechod, y mae yn ei gasâu a'i ffieiddio. Nid oes dim a'i dengys mor wrthun a'r "gwirionedd yn yr Iesu." Mae edrych

arno yn boddi y byd â dwfr—llosgi dinasoedd â thân—a chynneu uffern byth, yn ei ddangos yn wrthun; ond "ei archolli Ef am ein camweddau ni—ei ddryllio am ein hanwireddau!"—sydd yn cynhyrfu y meddwl fwyaf yn ei erbyn. Pwy a garai yr hyn a wnaeth i'r Iesu chwysu y gwaed? Pwy na wylai am yr hyn y bu'r Iesu yn drist ei enaid hyd angeu? Pwy na chroeshoeliai yr hyn a groeshoeliodd yr Iesu ar bren? Onid ydym yn marw i bechod yn yr olwg ar Iesu yn marw? "Cymdeithas â'i ddyoddefiadau Ef" a'n gwna yn gryf yn erbyn pechod!

4. *Y mae yn ennyn hyder yn y meddwl yn wyneb tragywyddoldeb.* Rhyw ben Pisgah yw hwn ag y mae y gwirionedd yn arwain yr enaid iddo cyn marw. Peth mawr yw gallu meddwl am dragywyddoldeb yn dawel—edrych ar y cefnfor mawr, ac ymollwng iddo heb fraw! Yr ydym ni yn *bordero* ar dragywyddoldeb—ei dònau yn curo yn nglànau ein bywyd yn aml; ninnau am gilio yn ôl. Swn cyffredin fforddolion y ddaear yn nglŷn cysgod angeu yw, "Paid â mi." Y mae ofn angeu yn syrthio arnynt. Llawer Cristion dros ei holl fywyd mewn caethiwed gan ofn marwolaeth. Y mae angeu a byd arall ynddo ei hun yn ddychrynllyd. Nid oes dim a

"Dŷn yr ofnau hen o farw
Sydd yn llechu dan ein bron"

ond golwg arno yn yr Iesu. Ceir gwedd newydd ar angeu a byd arall yn yr Iesu. "Marw sydd elw!"—"huno yn yr Iesu!"—"dattod i fod gyda Christ!" Mae yr hen Iorddonen yn troi yn ôl wrth Galfaria. O Gristion, nac ofna; ti gei ffon i rodio glŷn cysgod angeu—Arch yn yr Iorddonen—"Brawd a anwyd erbyn caledi." Mae yr Iesu wedi crogi lampau yn ochr glŷn cysgod angeu. Ti elli rodio trwodd i dir y bywyd tan ganu. Dangosir yma yr hapusrwydd mawr yr ochr draw. Anghofiodd Paul yr afon yn yr olwg ar yr ochr draw. "Gan fod genyf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ; canys llawer iawn gwell ydyw!"

Ochr oleu y golofn a ddaliwyd genym hyd yn hyn. Y mae gwirionedd arall yn yr Iesu. "Fy ngelynion hyny y rhai ni fynasant i mi deyrnasu arnynt, dygwch hwynt yma, a lleddwch ger fy mron i!" "Yr hwn nid yw yn credu a ddamniwyd eisoes!" "Ni wêl fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef!" "Gair ein Duw a saif byth!"

# PREGETH XX.

## DUW YN LLEFARU AC YN TEWI WRTH DDYN.

## GAN Y PARCH. D. CHARLES, IEU., CAERFYRDDIN.

"Fy Nghraig, na ddystawa wrthyf: rhag, o thewi wrthyf, i mi fod yn gyffelyb i rai yn disgyn i'r pwll."—PSALM xxviii. 1.

MAE yma gais a gweddi daer oddiwrth bechadur am i Dduw lefaru wrtho. Nid peth yn perthyn yn briodol i ysbryd yw llais a lleferydd, fel y defnyddia dyn; eto dywedir yn aml yn y Bibl fod Duw yn llefaru. "Llawer gwaith a llawer modd" y llefarai "gynt wrth y tadau trwy y prophwydi,"—sef trwy freuddwydion, trwy weledigaethau, a thrwy yr Urim a Thummim. Ond megys nad yw gwedd ddynol yn briodol i ysbryd, felly nid yw llais dynol. Nid oes gan ysbryd gnawd ac esgyrn, ac nid oes gan ysbryd lais. Er hyny defnyddiai Duw gyfryngau i hysbysu ei feddwl gynt, nas gellir dysgwyl y defnyddia dan yr oruchwyliaeth bresennol. Ond—

I. DYSG YR YSGRYTHYR I NI SYNIED A GOLYGU FOD DUW, TRWY'R HOLL OESOEDD, YN LLEFARU WRTH DDYNION MEWN MWY NAG UN YSTYR NEU LWYBR.

1. *Llefara yn a thrwy waith y grëadigaeth.* "Y nefoedd a ddadgan ogoniant Duw, a'r ffurfafen a fynega waith ei ddwylaw." Gwir nad oes iaith nac ymadrodd. Ni chlybüwyd lleferydd oddiwrth yr un o'r bodau wybrenol. Eto llefara yr Arglwydd ynddynt a thrwyddynt am ei ddoethineb a'i allu. "Eu llinyn"—eu haddysg—"a aeth trwy'r holl ddaear." Y pethau a wnaed a ddengys anweledig bethau ei dragywyddol allu a'i Dduwdod, hyd onid yw pawb yn ddiesgus yn wyneb annuwiaeth calon a bywyd. Condemnir dynion oblegid bod heb ogoneddu Duw wedi i Dduw egluro ei hun, neu dystio am dano ei hun, trwy y cyfrwng hwn. Gorchymynir pawb i ddyrchafu eu llygad i fyny, fel yr addolont wrth edrych ar y nef-

oedd, gwaith bysedd y Crëawdwr; y lloer a'r sêr y rhai a ordeiniodd Efe. Boneddiges ieuanc yn edrych trwy y ffenestr, un noswaith serenog, a sefydlai ei llygad ar un seren o faintioli a dysgleirdeb neillduol. Po fwyaf y syllai ar y seren, mwyaf i gyd yr ymhyfrydai yn yr olwg arni. Cyn hir saethai i'w meddwl "Seren Bethlehem! Seren Bethlehem!" Aeth i feddwl am yr Iesu, y "Seren fore eglur." I ba ddyben yr ymddangosai? "Ië dros bechaduriaid! Pechadur ydwyf finnau, mewn anghen o Geidwad. Trôaf ato." Goleuni y byd a lewyrchodd i'w chalon mewn canlyniad i'w gwaith yn syllu ar un o'r lampau a osodwyd yn yr ëangder er ys miloedd lawer o flynyddoedd, fel y traethai eu Gwneuthurwr ynddynt a thrwyddynt am dano ei hun.

2. Llefara yr Arglwydd drachefn, yn ol iaith y Bibl, *trwy ei ragluniaeth, neu ei lywodraeth ar y byd.* Yn yr ystyr yma "Llef yr Arglwydd a lefa ar y ddinas;" canys "a fydd niwed ynddi heb i'r Arglwydd ei wneuthur?" Peth erchyll yw bod heb weled pan y dyrchefir ei law yn ngorchwyliaethau ei ragluniaeth; canys yn y modd yma "llefara unwaith, ie dwywaith, wrth ddyn." Ni adawa ei hun yn ddidyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymmorau ffrwythlawn, a llenwi ein calonau ni â lluniaeth ac â llawenydd. Oni ddaw o enau y Goruchaf ddrwg a da, fel Penllywydd mawr y byd?

3. Ond mewn modd arbenig, llefara y Goruchaf *yn ei air ac yn ei efengyl,* yr hon a elwir "efengyl ogoneddus y bendigedig Dduw." Wrth ddyn, yn yr holl wledydd Cristionogol, dywed Duw yn a thrwy y dadguddiad cyflawn hwn o'i ewyllys, "Arnoch chwi, wŷr, yr wyf yn galw, ac at feibion dynion y mae fy llais." "Ofn yr Arglwydd, hyny yw doethineb; a chilio oddiwrth ddrwg sydd ddeall." Yma y gwaedda yn dirion ac yn dadol, "O deuwch i'r dyfroedd bob un y mae syched arno." "Yr hwn sydd yn ewyllysio, cymered o ddwfr y bywyd yn rhad." "Wele fi yn gosod maen yn Sïon, a'r hwn a gred ynddo nis gwaradwyddir." Gwyn ei fyd y neb a wrandawo ar leferydd y Bendigedig yn ei air! "Caiff aros yn ddiogel, ac a gaiff lonyddwch oddiwrth ofn drwg."

4. Ond llefara yr Arglwydd yn effeithiol wrth galon dyn, *pan ddanfono ei Ysbryd.* Dyma'r dyweyd a'r llefaru

y cyfeirir ato gan y Salmydd yn ein testun. Dyma'r llefaru a ddygwydd pan na bydd yr "efengyl yn unig mewn gair, ond mewn nerth." Pan roddo y llef hon allan, pobloedd a syrthiant dani, megys ar ddydd y Pentecost. Y meirw ysbrydol a glywant hon. Treiddia hon i ddystawrwydd a llonyddwch y farwolaeth ysbrydol.

II. Yn yr ystyr olaf yma, Y WEDDI SYDD GENYM DAN SYLW A DDENGYS Y GALL YR ARGLWYDD DEWI WRTH DDYN.

Wrth yr ymadrodd hwn, sef *tewi*, neu *ddystewi*, yr ydym i ddeall bod heb brofi dim yn effeithiol ac yn rhinweddol i'r fynwes—dim yn cyrhaedd y gydwybod a'r galon, er gwellhâd yr enaid a'r ymarweddiad, trwy ordinhadau ac ymarferiadau crefyddol.

Cwynai Saul wrth Samuel fod Duw wedi cilio oddiwrtho; a phan y gweddïa Dafydd yma, "Fy Nghraig, na ddystawa wrthyf," yr oedd mewn pryder a chryndod rhag i'r gyffelyb farn ei oddiweddyd yntau. Ac yn wir nid oes neb na ddylai wneyd y peth hwn yn destun gweddïau ac ymbiliau taerion. Pan ystyrir yr holl anufudd-dod, y calongaledwch, a'r diffrwythdra, sydd wedi bod yn wyneb manteision rhagorol, anhawdd yw bod heb bryder lawer yn yr achos hwn yr un ffunud â'r Salmydd. Llawer o ofn sydd rhag myned yn ôl yn y byd—rhag colledion ac adfydau daearol; ond y mae pob drwg o'r fath yn diflanu o'r golwg yn ymyl y trychineb aethus o fod Duw yn dystewi.

Y mae pethau yn cael eu nodi yn yr Ysgrythyrau ag sydd yn gosod dyn mewn perygl o ddyfodiad y farn hon arno; a da y gwnawn fod yn dal arnynt. Cyfeiriwn at rai o'r cyfryw bethau.

1. *Mae dal gafael mewn unrhyw bechod—meithrin a mynwesu unrhyw lygredigaeth, neu barhâu i gyndyn wrthod cydymffurfio â dyledswyddau amlwg orchymynedig yn ngair Duw, yn gosod dyn mewn perygl i'r Arglwydd dewi wrtho.* Y ffiaidd beth sydd gâs gan Dduw yw pechod, ac un o'r pethau sydd yn ei annog yn fawr i dewi ydyw troi y glust fyddar pan y byddo yn rhybuddio i fwrw ymaith y drwg sydd yn ei ddigio, neu nacâu gwneyd yr hyn a gais. Onid oes lle i ofni ei fod yn dyweyd eto uwch ben llawer un sydd yn ymddangos yn ysmala a difraw mewn addoliad, "Ymgysylltodd âg eilunod—gâd iddo?" Os ymollyngir, wedi llawer cenadwri yn yr achos, i lynu wrth

lygredigaeth, pa beth sydd i'w ddysgwyl ond y penderfyniad dychrynllyd hwnw, "Brasâ galon y bobl hyn?" Os parhëir i edrych ar anwiredd yn y galon, ni wrendy y Nefoedd ar yr hyn a dybir yn weddïau; a'r diwedd a fydd, oddigerth fod gwyrth o ras, "yr hwn a geryddir yn fynych, ac a galedo ei wàr, a ddryllir yn ddisymwth, fel na byddo meddyginiaeth."

2. Peth arall a nodir, ag sydd yn annog yr Arglwydd i dewi wrth ddynion, ydyw *bod trwy'r blynyddoedd yn dilyn ymarferiadau ac ordinhadau sanctaidd mewn tymher ac agwedd anianol, galon-iach, a ffurfiol—heb wylder, gorchwyledd, a pharchedig ofn, ac heb gydnabod gwerth cynnorthwyon yr Ysbryd Glân.* Bygythion trymion a geir yn gysylltiedig â nesâd ffurfiol, rhagrithiol, a dibarch, at Dduw, â'r galon yn glauar ac ymhell o'r gwasanaeth. Mae chwydu o'r genau yn beth i'w ofni. Ar ba sail y gellir dysgwyl cymhorth yr Ysbryd (heb yr hwn nis gellir bod amgen na ffurfiol a rhagrithiol), os na byddir mewn gwewyr am dano? Ac os na arddelir ni gan yr Ysbryd yn y cysegr, ac mewn cyflawniadau yn bresennol, nis arddelir ni gan y Barnwr y dydd olaf.

3. *Mae bod yn ddiystyr o Grist, yr unig Iachawdwr, trwy'r tymmor, er gwrando a chlywed llawer am dano, yn chwyddo perygl dyn drachefn braidd yn fwy na dim.* Mae Awdwr y swper mawr yn debyg o ddigio, ac yn debyg o benderfynu na cheir profi o'i ddarpariaeth, os byddir yn parhâu i anufuddhâu i'w alwadau. "Pob un ag a glywodd gan y Tad *sydd* yn dyfod" at y Ceidwad. Os *heb* ddyfod, ni chlywaist ddim gan y Tad er achubiaeth yr enaid. Yn wir dyma'r dystewi ofnadwy ag sydd dan sylw,—mewn ystyr, eisoes mewn difaterwch am yr unig Achubwr. Penaf ddysgleiriad gras, cyfiawnder, a doethineb Duw, yw person a gwaith ei Fab. Ei brif amcan yn yr efengyl yw iddo gael ei ddefnyddio. Gan hyny y drwg penaf yw ei ddiystyru a'i esgeuluso. "Cusenwch y Mab," a "gwrandewch arno Ef,"—dyma gyhoeddiadau hynotaf y Tad. Ei waith *Ef*—ei ewyllys amlycaf Ef, yw bod pechadur yn credu ynddo; ac esgeulusiad a dibrisdod o hyn, nis gall dim fod mor ddychrynllyd beryglus â hyn.

III. ECHRYSLONRWYDD Y FARN YMA, SEF DUW YN TEWI WRTH DDYN, A ROIR AR DDEALL YN YR YMADRODD, "RHAG O THEWI WRTHYF, I MI FOD YN GYFFELYB I RAI YN DISGYN I'R

PWLL." Wrth y "pwll" y mae i ni ystyried yn ddiau pydew dinystr, neu uffern obry.

Sylwn yn gymhwysiadol,—

1. *Ni raid i neb fyned i ddinystr oblegid bod heb glywed darlunio'r ffordd a derfyna yno; ac y mae hyn yn drugaredd.* Os byddir yn wynebu ar felldith, ac os llosgi fydd y diwedd, traethir yn y modd egluraf pa fath fywyd sydd yn tywys i'r diwedd truenus hwn, sef "dwyn drain a mïeri." Os sonir am fod "yn ôl," rhybuddir pawb mai aros yn ngafael anghrediniaeth yw y ffordd i fod yn ôl. Rhagddangosir pwy na chânt etifeddu teyrnas Dduw. Ac yma, os sonir am ddisgyniad i'r pwll, yr ydym yn cael gwybod mai y sawl a ânt ymlaen heb arddel Duw, na chael eu harddel gan Dduw, yw y cyfryw.

2. *Y ffordd oreu i sicrhâu na bydd i'r Arglwydd ddystewi wrthym* NI *yw i ni beidio tewi wrtho* EF. Na thaw, O fy enaid! a'i wahodd i lefaru. Gosod werth ar ei leferydd. Bydd yn sicr o dy foddhâu. Ond os tewi *di*, ond odid na ddystawa *yntau*. Pob dim ag a fyddo yn rhwystr iddo lefaru, gocheler hyny. Darfydded twrf gofalon anghymesur, a holl ddwndwr geiriau ofer, segur, enllibus, llidiog, llygredig.

3. *Disgyniad ofnadwy fydd disgyniad i'r pwll o wlad efengyl;* o ben bryn y breintiau crefyddol—o ben pinacl proffes! Disgyniad o uchder mawr fydd disgyniad o Brydain Fawr—o Gymru, a ddyrchafwyd hyd y nef, wedi dilyn moddion, fe ddichon, am flynyddoedd lawer yn fusgrell ac yn anystyriol. Bydd twrf y codwm aethus hwn, ac oernadau y truan, yn disgyn, yn seinio, ac yn adseinio, hyd eithafion y tragywyddolfyd mawr!

4. *Gellir golygu awgrym cysurol yn ein testun, sef bod rhai yn gadwedig rhag disgyn i'r pwll.* Mae Duw yn ei leferydd ar eu ffordd. Duw yn *tewi*, myfi a ddisgynaf i'r pwll; ond os *na* bydd yn tewi, *nid* âf. Duw yn dyweyd yn effeithiol ac yn rhinweddol, dyma ein gobaith am ddianc y dystryw a dybir. Pob gair ag a fyddo yn arosol ac yn sancteiddiol wrth ddarllen neu wrando—pob ystyriaeth a baro ddifrifwch—gwneler yn fawr o beth felly. Mae'n lled debyg fod gair Duw, a Duw yn ei air, yn sefyll rhwng y pechadur a'r pwll.

5. *Y rhai ag y mae ganddynt le i obeithio fod Duw yn* DYWEYD *wrthynt, dylent foddloni iddo lefaru* FEL Y DEWISO.

Dyweyd garw ydoedd dyweyd Joseph wrth ei frodyr; ond yr oedd calon gariadus ganddo. Os dywed Duw, er mewn ffordd erwin, a hyny yn effeithio lles, bydd meddyliau o hedd ganddo, ac nid o niwed.

6. *Nac anghofiwn gydnabod pa fodd y daeth yn bosibl i'r Deddfroddwr a ddianrhydeddwyd, i ddyweyd wrth droseddwr rywbeth heblaw "ewch oddiwrthyf."* Ni buasai obaith am leferydd arall, oni buasai ymrwymiad y Gair tragywyddol drosom mewn tragywyddol gynghor, a'i waith yn dyoddef cosbedigaeth ein heddwch.

7. *Barnwn ein crefydd yn ol graddau y gymdeithas a fydd rhyngom a'r Arglwydd, a rhwng yr Arglwydd a ninnau.* "Efe a draetha heddwch i'w saint." Os yr Arglwydd a fydd boddlawn i mi—os câf ffafr yn ei olwg, Efe a bâr i mi glywed oddiwrtho yn aml. Hyn a brawf flagur crefydd; a'r diffyg neu y lleihâd o hyn a rydd arwydd o ddirywiad.

8. *Ceir hirddydd tu draw i'r llen i dalu diolch i'r Brenin tragywyddol, ac i'r Anfeidrol ei ras, am ymostwng i ymddyddan â llwchyn gwael ar y llawr;* ac am ei amynedd a'i garedigrwydd yn mynu cynnal y gymdeithas, er yr holl diffygio a diflasu lawer pryd o du y pechadur. Yn ngoleuni y dydd hwnw ceir gweled yn amlycach erchylldra y pwll y buwyd yn chwareu yn hir yn ei ymyl. Ceir gweled anfeidroldeb y gras a safodd ar y ffordd rhyngof a'r gwaelodion!

# PREGETH XXI.

## ADNABYDDIAETH IESU GRIST O'I BOBL.

## GAN Y PARCH. ROBERT ROBERTS, LLANRWST.

**"Myfi yw y Bugail da; ac a adwaen yr eiddof fi, ac a'm hadwaenir gan yr eiddof fi."—IOAN x. 14.**

YMDDENGYS y dylid darllen yr adnod hon mewn cysylltiad â'r un ganlynol, fel un frawddeg, "Myfi yw y Bugail da; ac a adwaen yr eiddof fi, ac a'm hadwaenir gan yr eiddof fi; fel yr adwaen y Tad fyfi, ac yr adwaen innau y Tad." Y mae undeb y Personau yn yr Hanfod Ddwyfol yn cael ei ddefnyddio, weithiau, i osod allan agosrwydd undeb y saint â'u gilydd yn Nghrist. "Y dydd hwnw y gwybyddwch fy mod i yn fy Nhad, a chwithau ynof fi, a minnau ynoch chwithau." "Fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i. A'r gogoniant a roddaist i mi a roddais iddynt hwy; fel y byddont un, megys yr ydym ni yn un: myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y byddont wedi eu perffeithio yn un, ac fel y gwypo y byd mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt, megys y ceraist fi." Ond yma y mae adnabyddiaeth Iesu Grist o'i bobl, a'r eiddo ei bobl o hono yntau, yn cael ei osod allan yn gyffelyb i adnabyddiaeth y Tad o'r Mab ac adnabyddiaeth y Mab o'r Tad. 'Fel y mae y Tad yn fy adnabod, yn fy ngharu, ac yn ymhyfrydu ynof fi, ac yr wyf finnau yn adnabod, yn caru, ac yn ymhyfrydu yn fy Nhad, felly yr wyf fi yn "adwaen yr eiddof fi, ac a'm hadwaenir gan yr eiddof fi."' Yn awr, y mae perffeithrwydd adnabyddiaeth yr Arglwydd Iesu Grist o'i bobl yn gymhelliad iddynt hwythau sydd yn ei adnabod fel Mab y Duw byw, fel eu Gwaredwr, yr Hwn a'i rhoddes ei hun drostynt, i'w prynu oddiwrth bob anwiredd, a'u gwneuthur yn bobl briodol

iddo ei hun, i roddi eu holl achos iddo mewn ymddiried ynddo, a dymuniad am arweiniad ei Ysbryd i'w tywys i bob gwirionedd.

I'r dyben i egluro hyn, yr ydym yn sylwi yn

I. FOD IESU GRIST YN MEDDU ADNABYDDIAETH BERSONOL O'I BOBL, BOB UN AR EI BEN EI HUN.

Pa mor fanwl bynag y gall fod adnabyddiaeth y bugail, mewn ystyr naturiol, o'i braidd, nid yw uwchlaw cyfeiliorni, gan nad oes ganddo ond rhyw nodau allanol wrth y rhai y mae yn eu gwahaniaethu. Y mae y cadfridog yn adnabod ei filwyr wrth ryw arwyddion cyffredinol a berthyn iddynt, ond y mae yn dra thebyg pe cyfarfyddai â'r nifer lliosocaf o'i fyddin wedi newid eu gwisgoedd mewn lle dyeithr, ymysg eraill, nas gallai eu nodi allan fel y cyfryw. Y mae y penadur gwladol yn adnabod pawb o'i ddeiliaid yn ei ddeddfau: y mae yn darparu amddiffyn i'r diniwed, a chosb i'r drygionus, a hyny i'r fath fanylrwydd ag sydd yn cyrhaedd pawb, i raddau mwy neu lai, o fewn terfynau ei ymherodraeth; er hyny y mae hyn yn bod heb i'r penadur fod yn adnabod pob un o'i ddeiliaid yn bersonol. Ond y mae Iesu Grist yn meddu adnabyddiaeth fanylach na hyn o'i bobl. Y mae mor berffaith fel nas dichon iddo wneuthur y camsyniad lleiaf yn mherthynas i'r un o honynt. Y mae yn wir fod deddfau llywodraeth Duw yn cymeryd i mewn ei holl grëaduriaid, ac yn neillduol felly plant dynion, fel, wrth i ni edrych arnynt â golwg gyffredinol, y mae "y cyfiawn yn cael ei waredu o gyfyngder, a'r annuwiol yn dyfod yn ei le ef;" er hyny y mae yn dygwydd weithiau, oddiar ryw resymau anadnabyddus i ni, fod yr "annuwiol yn gadarn ac yn frigog, fel y lawryf gwyrdd," ac yn "treulio ei ddyddiau mewn daioni," tra y mae y duwiol yn "gweled aml a blin gystuddiau," a'i "enaid yn cael ei lenwi â blinderau:" ond wedi'r cyfan, nid oes dim o'r holl bethau hyn yn cymeryd lle heb fod o dan sylw "yr Hwn sydd yn eistedd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd." Y mae Efe yn adnabod y naill a'r llall i berffeithrwydd. "Ti a adwaenost fy eisteddiad a'm cyfodiad, dealli fy meddwl o bell. Amgylchyni fy llwybr a'm gorweddfa, a hysbys wyt yn fy holl ffyrdd. Canys nid oes air ar fy nhafod, ond wele, Arglwydd, ti a'i gwyddost oll." "Pa fodd y'm hadwaenost?" meddai Nathanael. "Cyn i Phylip dy

alw di," meddai yr Iesu, "pan oeddit dan y ffigysbren, mi a'th welais di." Pan anfonodd Iesu Grist Ananias at Saul o Tarsis, fe ddywedodd wrtho mai yn nhŷ Judas, yn yr heol a elwid Uniawn, y deuai o hyd iddo. A phan oedd yr angel yn gorchymyn i Cornelius anfon am Pedr, yr oedd yn ei hysbysu yn fanwl mai yn Joppa yr ydoedd y pryd hwnw, a'i fod yn llettya gydag un Simon, barcer, "tŷ yr hwn sydd wrth y môr."

Yn awr y mae yr ystyriaeth o hyn yn gysur i'r gwir Gristion. Yr ydym yn canfod fod peth cyffelyb i hyn yn effeithio yn ddymunol ar feddyliau dynion gyda'u gilydd, yn enwedig lle y mae cryn wahaniaeth yn eu sefyllfäoedd a'u hamgylchiadau yn y byd. Y mae y tlawd yn teimlo yn ddedwydd pan y mae rhyw ŵr mawr ac anrhydeddus yn ei adnabod ac yn ymgydnabyddu âg ef, ac hwyrach am nad yw wedi ei anghofio fel un oedd wedi bod yn gydnabyddus âg ef, ac wedi bod yn cydchwareu â'u gilydd gynt pan oeddynt yn blant, er fod amgylchiadau erbyn hyn wedi gwneuthur llawer mwy o wahaniaeth rhyngddynt a'u gilydd nag oedd y pryd hwnw, trwy ddarostwng y naill a dyrchafu y llall. Ceir clywed dynion yn ymffrostio o bethau fel hyn pan y maent yn dygwydd, yr hyn sydd yn dangos yn amlwg fod yn naturiol iddynt deimlo oddiwrthynt. Ond y mae plant dynion yn fynych yn anghofio yr hyn oeddynt gynt, ac yn colli yr adnabyddiaeth o'u hen gyfeillion wedi iddynt gael rhyw ddyrchafiad. Ar ol i'r pentrulliad gael ei ddwyn o'r carchar, a'i osod yn ei swydd eilwaith i roddi y cwpan yn llaw Pharaoh, fe anghofiodd Joseph. Ond nid felly y mae Iesu Grist; er ei fod wedi ei ddyrchafu goruwch yr holl nefoedd, y mae yn adnabod ei bobl ar y ddaear. Ac os ydych chwi yn ei adnabod Ef, nis gall hyny lai nag effeithio yn ddymunol ar eich meddwl, a bod yn gymhelliad i chwi roddi eich hymddiried ynddo. Meddwl fod "yr Hwn ni thybiodd yn drais iddo fod yn ogyfuwch â Duw" wedi ei "gael mewn dull fel dyn"—wedi cymeryd natur dyn i undeb â'i Berson anfeidrol ei hun, ac wedi bod yn "ufudd hyd angeu, ïe angeu y groes;" fod Duw wedi ei dra dyrchafu, a'i osod "ar ei ddeheulaw ei hun yn y nefolion leoedd, goruwch pob tywysogaeth ac awdurdod, a gallu ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw, ac wedi darostwng pob peth dan ei

draed Ef;"—meddwl fod y Person hwn yn dy natur di yn y nefoedd, yn yr holl fawredd a'r anrhydedd hwn, y mynyd yma yn dy adnabod di ar dy ben dy hun; yn gwybod beth yw dy enw di, beth yw dy alwedigaeth di, a pha fodd yr wyt yn ymddwyn ac yn teimlo ymhob amgylchiad, bob amser; yn gwybod am dy holl nwydau, dy dymherau, a'th wendidau; yn adnabod dy holl ofnau, dy brofedigaethau, a holl feddyliau a bwriadau dy galon. Pwy yn ei adnabod a all lai na theimlo yn ddymunol yn yr ystyriaeth fod Un mor oruchel yn meddu ar adnabyddiaeth mor fanwl, ac yn sylwi ar grëadur mor wael a diddym!

II. Y MAE IESU GRIST YN ADNABOD EI BOBL YN EU HOLL AMGYLCHIADAU, EU HANGHENION, EU PERYGLON, EU TEMTASIYNAU YN WYNEB EU HOLL ELYNION, AC YN ALLUOG I DREFNU IDDYNT YR YMWARED A FYDDO YN OREU ER EU LLES.

Yr ydym wedi cael ein dysgu i feddwl mai Efe sydd yn teyrnasu, ac yr ydym yn arfer ystyried ei fod yn dwyn ymlaen ryw lywodraeth gyffredinol; yn sylwi ar, ac yn trefnu, rhyw bethau mawrion sydd yn cymeryd lle yn y byd: ond yr ydym ar yr un pryd yn dueddol, hwyrach, i golli golwg ar ei lywodraeth mewn pethau bychain, neu o leiaf pethau sydd yn ymddangos i ni yn fychain yn eu perthynas â ni ein hunain yn amgylchiadau cyffredin bywyd. Yr ydym yn barod i gydnabod mai "Efe sydd yn newid amseroedd a thymmorau;" yn "symud ac yn gosod breninoedd;" yn ynfydu barnwyr y ddaear; ac "yn rhoddi doethineb i'r doethion, a gwybodaeth i'r rhai a fedrant ddeall, ac yn dadguddio pethau dyfnion a chuddiedig." Pan y mae teyrnasoedd yn cael eu dadymchwelyd—gorseddfeinciau ymherawdwyr yn cael eu bwrw i lawr, Pharaoh a'i lu yn cael eu hysgytio yn y Môr Côch, ac Israel yn canu ar y làn draw yn ddiangol, wedi eu gwaredu o'u cyfyngderau,—yr ydym yn addef yn rhwydd fod yr Arglwydd yn sylwi ar, ac yn ofnadwy i, freninoedd y ddaear, a'i fod yn ei drugaredd yn trefnu ymwared i'w bobl. Ond fe allai fod y Cristion yn barod i betruso wrth geisio sylweddoli hyn yn ei berthynas âg ef ei hun ar ei ben ei hunan, ac i fethu ag ymdeimlo â manylrwydd ei lywodraeth fel y mae yn cyrhaedd pob peth sydd yn effeithio ar ei amgylchiadau a'i deimladau ef ei hun. Yn

yr ystyr yma y mae yn dyfod yn bwysig iawn iddo ef, ac i'r graddau y byddo yn gallu ymdeimlo â hi fel hyn, y mae yn sugno cysur oddiwrthi, ac yn ymddiried yn yr Hwn sydd yn ei dwyn ymlaen. Nid pa beth ydyw i'r byd yn gyffredinol, ond pa beth ydyw iddo ef yn neillduol, sydd yn gweini cysur iddo ef. Y mae yr Ysgrythyr yn dangos cyflawnder darpariaeth Duw yn ei lywodraeth i'r grëadigaeth afresymol, mewn trefn i argraffu ar feddyliau ei bobl fanylrwydd ei ofal am danynt hwy. "Y cenawon llewod a ruant am ysglyfaeth, ac a geisiant eu bwyd gan Dduw." "Efe sydd yn rhoddi i'r anifail ei borthiant, ac i gywion y gigfran pan lefant." "Ystyriwch y brain: canys nid ydynt yn hau nac yn medi; i'r rhai nid oes gell nac ysgubor; ac y mae Duw yn eu porthi hwynt: o ba faint mwy yr ydych chwi yn well na'r adar?" "Oni werthir dau aderyn tô er ffyrling? ac ni syrth yr un o honynt ar y ddaear heb eich Tad chwi!" "Yr *un* o honynt:" y mae yn gwybod am bob un, pa un ydyw, ymha le y mae yn disgyn, a pha beth sydd ar ei gyfer. "Ac y mae, ïe holl wallt eich pen wedi eu cyfrif. Nac ofnwch, gan hyny: chwi a delwch fwy na llawer o adar y tô." Pan y dygir hyn i sylw, fe ddefnyddir yn fynych yr ymadroddion mwyaf gogoneddus i osod allan fawredd Duw, ac hefyd fe roddir arbenigrwydd penodol i'w ofal am y tlawd a'r rheidus, y gwan a'r diamddiffyn, yn anad neb. "Er bod yr Arglwydd yn uchel, eto efe a edrych ar yr isel." "Canys efe a edrychodd o uchelder ei gysegr, yr Arglwydd a edrychodd o'r nefoedd ar y ddaear;"—i ba ddyben? pa beth oedd yn galw am ei sylw? "I wrando uchenaid y carcharorion, ac i ryddhâu plant angeu." "Dyrchefwch yr Hwn sydd yn marchogaeth y nefoedd a'i enw yn Jah;"—beth am dano? pwy ydyw? "Tad yr amddifad, a Barnwr y gweddwon, yw Duw yn ei breswylfa sanctaidd." Y mae yr Arglwydd yn hòni hawl yn ei bobl fel ei eiddo, yn gweinyddu ei lywodraeth i beri i bob peth gydweithio er eu daioni, ac yn addaw ei bresennoldeb gyda hwynt yn eu holl drallodau, rhag iddynt gael niwed ynddynt. "Nac ofna, canys gwaredais di: gelwais di erbyn dy enw: eiddof fi ydwyt. Pan elych drwy y dyfroedd myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd, fel na lifont drosot: pan rodiech drwy y tân, ni'th losgir; ac ni ennyn y fflam arnat."

Y mae y saint yn nghanol eu gelynion yn y byd hwn. Gan fod llygredigaeth yn glynu yn nghalon y dyn duwiol yn y fuchedd hon: bod perthynas mor agos rhyngddo a'r byd yma, a bod a wnelo gymaint â'r pethau sydd ynddo ar ei gymdeithas â'i gysuron, y mae yn agored iddynt effeithio arno i dueddu ei feddwl oddiwrth Dduw. Pa beth bynag fyddo ei amgylchiadau: pa un bynag a gyfoethog ai tlawd, ai llawer ai ychydig fyddo ei drafferthion, ai hawddfyd ai adfyd fyddo ei feddwl yn ei dynu oddiwrthynt. Fel pechadur y mae ynddo yr hyn sydd yn peri fod pethau y byd hwn—y pethau sydd yn gyfreithlawn ynddynt eu hunain—yn demtasiwn i ddwyn ei galon o dan eu llywodraeth, naill ai i garu y byd ac i ymddigrifo mewn casglu ei gyfoeth, neu fel y mae ei gyfoeth yn rhoddi mantais i fwynhâu rhyw fath o bleserau; neu ynte, o'r ochr arall, fod ei brofedigaethau a'i helbulon yn peri ei fod yn barod i dybied fod yr Arglwydd wedi gadael y ddaear, ac nad oes barn ger ei fron Ef. Ystyriaethau o'r natur yma, dybygid, oedd yn cymhell Agur i weddio, "Na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth; portha fi â'm digonedd o fara: rhag i mi ymlenwi, a'th wadu di, a dywedyd, Pwy yw yr Arglwydd? a rhag i mi fyned yn dlawd, a lladrata, a chymeryd enw fy Nuw yn ofer." Y mae y dyn sydd yn teimlo yn dduwiol yn canfod peryglon a themtasiynau ymha sefyllfa bynag y byddo: ond gellid meddwl eu bod yn gryfach, ac yn cael mwy o ddylanwad, i'r graddau y byddo dyn yn nesu at y naill eithafion neu y llall, o gymaint ag y maent yn ymosod arno gyda mwy o nerth, a'i fod yntau yn fwy agored i dderbyn argraff oddiwrthynt, ac yn wanach i'w gwrthwynebu. Yn holl gysylltiadau dyn â'i gydgrëaduriaid, pa un bynag ai yn deuluaidd, fel cymydogion, cyfeillion, neu elynion; yn eu hymdrafod âg amgylchiadau y byd, neu ynte mewn cysylltiad â chrefydd,—nid oes dim na fedr calon lygredig sugno gwenwyn oddiwrtho. Ac y mae yr holl gysylltiadau hyn mor amrywiol a lliosog, a rhyw demtasiynau neillduol yn perthyn i bob un o honynt—y pethau mwyaf dymunol fel y mwyaf annymunol—fel y mae yn beth rhyfedd fod modd i bechadur ddianc o'u gafael heb gael ei faglu i ddinystr. Y mae yn dwyn yn ei fynwes y fath liaws aneirif o nwydau a chwantau, a'r rhai hyny yn barod i'w fradychu bob amser ar yr amnaid lleiaf. Y cnawd oddifewn a'r byd oddi-

allan yn barod i ymgynghreirio i ryfela yn erbyn yr enaid.

Y mae y diafol hefyd yn elyn iddo, a phob amser ar ei wyliadwriaeth i osod ei hudoliaethau o'i flaen. Ac y mae yn fwy peryglus, yn gymaint a'i fod yn anweledig, a'i gynllwynion yn ddirgelaidd. Ni wyddom ni ddim pa nifer o ysbrydion aflan sydd yn sychedu am waed pob un o honom ddydd a nos, ac yn gwylio ar bob ysgogiad o'n heiddo; pa un a oes ganddynt ryw ddylanwad uniongyrchol ar feddwl dyn neu beidio, neu a ydynt yn gallu gweithredu mewn rhyw fodd ar gorff dyn i gyffroi ei nwydau a'i chwantau; nid yw yn hysbys i ni ychwaith pa faint o ryddid y maent yn ei feddu, na pha mor bell y mae eu dylanwad yn cyrhaedd ar amgylchiadau dynion, i beri fod rhyw bethau yn cyfarfod â'u gilydd i fod yn hudoliaethau neu yn brofedigaethau i'r saint; pa ddefnydd y maent yn allu ei wneyd o'r naill ddyn i fod yn fagl i'r llall, trwy wrthwynebiad uniongyrchol, neu ynte i ddênu trwy ddiriondeb; pa bryd y bydd yn ymddangos fel gelyn, a pha bryd y bydd yn ymrithio fel angel y goleuni; ond y mae yn ddiammheu fod ei allu a'i ddylanwad yn aruthrol, ac y mae yn ddigon amlwg ei fod yn meddu llid mawr i'r Cristion, a bod ganddo fantais fawr arno, oblegid y mae yn hen iawn, yn gyfrwys iawn, a chanddo wybodaeth ëang iawn. Y mae yn gwybod ymha le y mae gwendid, a pha un yw y pechod sydd yn barod i amgylchu y dyn duwiol; pa beth yw y demtasiwn fwyaf tebyg o lwyddo; pa bryd a thrwy ba lwybr y byddai yn fwyaf tebyg o fod yn effeithiol i'w lithio i oferedd. Ac er nad yw, y mae yn debyg, yn meddu ar ragwybodaeth fanwl am y dyfodol, y mae yn ddiau ei fod, oddiar sylwi ar yr hyn a aeth heibio, yn meddu mesur helaeth o wybodaeth o ddeddfau cyffredinol llywodraeth Duw, ac adnabyddiaeth led gywir o amgylchiadau ac agwedd meddwl y pechadur, yn gallu tynu casgliadau a dyfalu pa fodd y mae pethau yn debyg o droi allan mewn amser dyfodol, yn y fath fodd ag i ddarparu ei demtasiynau, ac i drefnu y cyfan yn y llwybr tebycaf i fod yn effeithiol, pan y daw y cyfleusdra oddiamgylch. Gyda golwg ar ei gyfrwysdra a'i ddichellion y mae yr Ysgrythyr yn ei alw yn "hen sarff;" ac mewn cyfeiriad at ei elyniaeth a'i gynddaredd y dywedir ei fod "megys llew rhuadwy yn rhodio oddiamgylch, gan

geisio y neb a allo ei lyncu." Oddiar yr ystyriaeth o'i allu a'i ddylanwad, y gelwir ef yn "dywysog llywodraeth yr awyr;" ac y mae y saint, yn yr ystyr yma, mewn trefn i sefyll yn erbyn ei gynllwynion, yn "ymdrech yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Y mae holl allu y byd, y cnawd, a'r diafol, yn erbyn y dyn duwiol, ac y mae y naill mewn cynghrair â'r llall i'w arwain ar gyfeiliorn, a'i ddadymchwelyd.

Yn awr y mae yr Arglwydd Iesu Grist yn gwybod yr holl bethau hyn, yn adnabod ei eiddo yn eu holl droallodau a'u temtasiynau, ac yn alluog i'w cadw ynddynt rhag cael niwed, a'u gwaredu oddiwrthynt. Y mae yn gwybod yn berffaith pa fath yw dy amgylchiadau di yn y byd—pa un ai cyfoethog ai tlawd wyt ti, ai dwyn dy fyd yn llawen ai mewn helbul a thrafferth; yn adnabod holl rym dy lygredigaethau, a holl nwydau dy natur, pa bryd ac oddiwrth pa bethau yr wyt ti mewn mwyaf o berygl. Y mae yn gwybod am dy holl elynion; yn adnabod holl gythreuliaid y pydew diwaelod bob un ar ei ben ei hun; y mae eu holl gynghorau, eu hystrywiau, a'u dichellion, yn noeth ac yn agored ger ei fron Ef bob amser. Y mae yn gwybod nerth a pherygl eu holl ymosodiadau arnat ti, ac y mae ganddo awdurdod a llywodraeth ar bob un o honynt, ac ar eu hudoliaethau, i ddyweyd wrthynt, Hyd yma y deui ac nid ymhellach. Pan oedd ar y ddaear, yn ei sefyllfa o ddarostyngiad, yr oedd trwy "awdurdod yn gorchymyn i'r ysbrydion aflan, a hwy yn ufuddhâu iddo." Yr oedd y fath nerth yn ei eiriau fel y byddai llengoedd o honynt yn ffoi fel gwibed o'i wydd. Pa faint mwy y gall wneyd hyny yn awr? Cofia, Gristion, mai dy Frawd di yw Efe. Yr Hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu oddiwrth bob anwiredd; yr Hwn sydd heddyw ar ddeheulaw y Mawredd, a holl awenau llywodraeth Duw yn ei law, i drefnu pob amgylchiad sydd yn cymeryd lle yn y byd i ddwyn oddiamgylch amcanion ei farwolaeth. Beth bynag a ddichon fod gallu y diafol, a nerth ei gynllwynion, y mae Iesu Grist yn eu hadnabod yn eu holl gynddeiriogrwydd. Y mae yn gwybod y diwedd o'r dechreu, ac yn gallu diddymu amcanion y cyfrwys fel na allo eu dwyn i ben; yn lladd grym ei gynlluniau ymhell bell

o'n golwg ni, ac yn nerthu ei blentyn i ddal ei ffordd yn eu hwyneb. "Ffyddlawn yw Duw, yr hwn ni âd eich temtio uwchlaw yr hyn a alloch, eithr a wna ynghyd a'r demtasiwn ddiangfa hefyd, fel y galloch ei dwyn." "Simon, Simon," meddai Iesu Grist wrth Pedr, "wele Satan a'ch ceisiodd chwi, i'ch nithio fel gwenith; eithr mi a weddïais drosot, fel na ddiffygiai dy ffydd di." Ni wyddom ni yr awrhon amcan llawer o bethau sydd yn ein cyfarfod, ond i'r graddau yr ydym yn adnabod Iesu Grist, ac yn ymdeimlo â'i bresennoldeb gyda ni, yr ydym yn ymddiried ynddo.

III. Y MAE YR ADNABYDDIAETH HON O EIDDO IESU GRIST O'I BOBL YN CYNNWYS CARIAD ATYNT.

Y mae yn gweinyddu ei lywodraeth tuag at bawb mewn daioni, ond y mae yn *caru* ei bobl. Y mae Duw yn caru pechaduriaid er tragywyddoldeb, ac wedi amlygu y cariad hwnw yn anfoniad ei uniganedig Fab i'r byd i farw dros yr annuwiol; ond y mae rhyw arbenigrwydd yn cael ei roddi ar ei gariad tuag at ei eiddo, y rhai sydd wedi derbyn y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab, ac wedi eu cymmodi âg Ef trwy ei aberth a'i iawn. "Yr hwn sydd â'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu i: a'r hwn sydd yn fy ngharu i, a gerir gan fy Nhad i: a minnau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo." "Os câr neb fi, efe a geidw fy ngair: a'm Tad a'i câr yntau, a nyni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef." Y mae Iesu Grist yn cymeryd hamdden, pan oedd yn ymyl gadael ei ddysgyblion, yr hwyr diweddaf y bu gyda hwynt, cyn iddo fyned i ardd Gethsemane, i argraffu ar eu meddyliau ei fod yn eu caru, mewn trefn i'w cymhell hwythau i'w garu yntau, ac i roddi eu hymddiried ynddo; i'w hannog i gadw ei orchymynion Ef, ac i garu eu gilydd. "Fel y carodd y Tad fi, felly y cerais innau chwithau: aroswch yn fy nghariad i. Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a aroswch yn fy nghariad; fel y cedwais i orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn ei gariad Ef. Hyn a ddywedais wrthych, fel yr arosai fy llawenydd ynoch, ac y byddai eich llawenydd yn gyflawn. Dyma fy ngorchymyn i, Ar i chwi garu eich gilydd fel y cerais i chwi. Cariad mwy na hwn nid oes gan neb; sef, bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion. Chwychwi yw fy

nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi. Nid wyf mwyach yn eich galw yn weision; oblegid y gwas ni ŵyr beth y mae ei Arglwydd yn ei wneuthur: ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion; oblegid pob peth ar a glywais gan fy Nhad a hysbysais i chwi." Y mae yr un cariad ag oedd yn ei gymhell i "gymeryd arno agwedd gwas," ac i fod yn "ufudd hyd angeu, ïe angeu y groes" dros ei bobl, yn aros yn ei fynwes eto yn ngweinyddiad ei lywodraeth; a hyny mewn cysylltiad âg awdurdod annherfynol, ac anfeidrol allu a doethineb. I grëadur perffaith sanctaidd a difrycheulyd, y mae yr ystyriaeth o allu a doethineb Duw mewn cysylltiad â chyfiawnder ac uniondeb yn sylfaen cysur; ond i bechadur—y gwrthryfelwr—y mae yn ofnadwy. Ond wrth edrych ar y priodoliaethau hyn yn Mherson y Cyfryngwr, fel y maent mewn undeb âg anfeidrol ddaioni a chariad, a hwnw wedi ei amlygu mewn trefn gyfiawn, gyson âg uniondeb gorseddfainc y Barnwr, i faddeu i'r euog, i gyfiawnhâu yr annuwiol, i buro y gydwybod oddiwrth weithredoedd meirwon, a'i wneuthur yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni,—y maent yn ffynnonell hapusrwydd i'r pechadur sydd yn ymddiried yn y drefn. Y mae cariad Crist yn anfeidrol a digyfnewid; y mae yn para "yr un ddoe a heddyw ac yn dragywydd." "Ac Efe yn caru yr eiddo y rhai oedd yn y byd, a'u carodd hwynt hyd y diwedd." Y mae yn ddigon galluog i'w gwaredu o bob cyfyngder, ac y mae pob awdurdod yn y nef a'r ddaear wedi ei rhoddi iddo i'r dyben hwnw. "A minnau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol: ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i."

Colli yr olwg ar hyn sydd yn peri fod y Cristion yn myned yn anynad a grwgnachllyd yn wyneb y profedigaethau a'r siomedigaethau y mae yn eu cyfarfod yn y byd. Pan y mae dyn yn edrych ar ryw bethau croesion sydd yn dyfod yn ei erbyn, fel barnau yr Hollalluog, yn cael eu gweinyddu mewn ffordd o ddïal arno am ei bechodau, y mae y galon yn barod i godi mewn gwrthryfel yn ei erbyn, hyd yn nôd pan y mae yn ystyried ei hun yn cyfiawn haeddu hyny. Ac i'r dyn sydd yn ofni Duw, pan y mae chwerwder yn dyfod i'w ran, ïe am yr anwiredd a ŵyr efe, nis gall lai na rhodio yn alarus a digysur.

Iaith ei galon mewn dymuniad i ymostwng yw, "Dyoddefaf ddig yr Arglwydd, canys pechais i'w erbyn." Ond y mae yr ystyriaeth fod y pethau hyny yn orchwyliaethau cariad, ac yn cael eu bwriadu er llesâd iddo, yn foddion i ddwyn y pechadur i gydnabod ei fai, ac i ffieiddio ei hun o'i herwydd; i'w adael, ac i erfyn maddeuant. "Pan y'n bernir, y'n ceryddir gan yr Arglwydd, fel na'n damnier gyda'r byd." "Yr wyf yn argyhoeddi ac yn ceryddu y sawl yr wyf yn eu caru." "Canys y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu." Y mae ein tywyllwch a'n llygredigaeth, a'n diffyg adnabyddiaeth o lywodraeth Duw yn ei holl gysylltiadau, yn ei pherthynas â ni ein hunain, ac yn ein perthynas ninnau â'n cydgrëaduriaid, yn peri nad ydym yn gallu dirnad y rheswm am lawer o bethau sydd yn chwerwon i'n teimladau ni ar y pryd; ac y mae llawer iawn o'u chwerwder yn codi oddiar hyny, fel y mae y pechadur, yn ei sydynrwydd a'i anwybodaeth, yn barod i ddyweyd fel Jacob gynt, "Yn fy erbyn i y mae hyn oll." Ond pa fodd y teimlai y dyn duwiol sydd yma, pe byddit yn gallu sylweddoli fel gwirionedd yn ei berthynas â thi dy hun, mai Iesu Grist sydd yn teyrnasu; nad oes un amgylchiad, na bychan na mawr, yn dy gyfarfod, heb fod o dan ei sylw Ef; ei fod yn dy garu di ar dy ben dy hun heddyw, mor wirioneddol a phan y bu farw ar y groes; fod y cyfan sydd yn dy gyfarfod di—y chwerw fel y melus—yn cael eu gweinyddu neu eu goruwchlywodraethu ganddo Ef ei hun er llesâd i ti, ac o gariad atat ti; a'i fod Ef ei hunan, yn ngrym y cariad hwnw, wrth enau y ffwrn, yn eistedd fel purwr a glanhäwr arian, rhag i ti gael dim niwed o'r naill ochr na'r llall? Beth pe byddech chwi yn credu hyn? A ydych chwi ddim yn meddwl y byddai yn lladdfa i ysbryd grwgnach? A oes rhyw siomedigaeth fawr yn ei gysylltiad â'r byd yn dy gyfarfod di? neu a ydyw hi yn ymddangos yn lled dywyll o dy flaen di? Hwyrach mai dyna y llwybr y mae Iesu Grist yn ei gymeryd i gymedroli dy drachwant di am dano, ac i dy ddwyn di i deimlo dy ymddibyniad arno Ef yn fwy llwyr. Y mae wedi rhoddi digon o le i ymddiried ynddo. "Bydded eich ymarweddiad yn ddiariangar, gan fod yn foddlawn i'r hyn sydd genych. Canys Efe a ddywedodd, Ni'th roddaf di i fyny, ac ni'th lwyr adawaf chwaith." Neu os oes rhyw brofedigaeth braidd a dy

dithio. Ar un adeg dacw fe yn cysgu ar obenydd yn mhen ôl y llong, yn nghanol y dymhestl; ac yn union deg wedi deffro, dacw fe yn dywedyd, "Gostega, dystawa," nes oedd y gwyntoedd a'r môr yn ufuddhâu iddo. Weithiau ni a'i clywn yn cyhoeddi y gwaeau mwyaf ofnadwy ar ddynion, o herwydd eu rhagrith a'u llygredigaeth; bryd arall ni a'i canfyddwn yn wylo uwch ben Jerusalem, yn y rhagolwg ar y trueni a ddeuai arni o herwydd ei phechodau. Ar un adeg ni a'i cawn yn porthi miloedd âg ychydig dorthau; bryd arall fe ddywedir fod arno chwant bwyd ei hunan. Ac nid yn unig yr oedd yn meddu teimladau a gwendidau naturiol y ddynoliaeth, ond fe ddaeth yn agored i anghenion a phrofedigaethau plant dynion; fe ddaeth i afael â chyfyngderau a themtasiynau ei bobl. "Diau efe a gymerth ein gwendid ni, ac a ddyg ein doluriau." "Dirmygedig oedd a diystyraf o'r gwŷr, gŵr gofidus a chynnefin â dolur." "Efe a orthrymwyd, ac Efe a gystuddiwyd." "O garchar ac o farn y cymerwyd Ef." "Mor llygredig oedd ei wedd yn anad neb, a'i bryd yn anad meibion dynion!" Fe ymosododd tlodi arno yn ei lymder mwyaf; ac yn y cyflwr hwnw, fe osodwyd holl deyrnasoedd y byd a'u gogoniant yn demtasiwn o'i flaen gan yr archelyn. Fe'i cablwyd, fe'i gwaradwyddwyd, fe'i herlidiwyd; ac nid oedd un demtasiwn ag oedd o fewn cyrhaedd dichell a malais y pydew diwaelod na ddygwyd hwynt yn ei erbyn yn eu cynddeiriogrwydd mwyaf. Ond fe ddaeth drwy y cyfan yn "Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, a didoledig oddiwrth bechaduriaid."

Yn awr, pa fodd yr ydych chwi yn teimlo yn wyneb hyn? Y mae gweled rhywun yn cydymdeimlo â chwi yn eich profedigaeth, er nas gall weinyddu un ymwared i chwi o honi, yn cynnyrchu teimlad dymunol iawn yn y fynwes. Yr ydym yn cael hanes am yr amlygiadau mwyaf hynod o dynerwch teimlad yn yr Arglwydd Iesu; ac yn wir, y mae rhai o'r arwyddion mwyaf nerthol a gyflawnodd yn weithredoedd sydd yn dangos cydymdeimlad â rhai mewn profedigaethau. Am y gŵr ieuanc o Nain a gyfododd o farw yn fyw, pan oedd ar yr elor yn myned tua'r gladdfa, fe ddywedir mai "unig fab ei fam" ydoedd, "a hono yn weddw." Y mae yn anhawdd meddwl am amgylchiad mwy profedigaethus, ac y mae yr hanes yn rhoddi ar

ddeall i ni ei bod wedi tynu sylw yr Iesu gan mor drallodedig ydoedd. "A'r Arglwydd pan y gwelodd, a gymerodd drugaredd arni, ac a ddywedodd wrthi, Nac wyla." Efe a dosturiodd wrthi, a gydymdeimlodd â hi, ac a ddywedodd wrth y mab ieuanc, "Cyfod. A'r marw a gyfododd yn ei eistedd, ac a ddechreuodd lefaru. Ac efe a'i rhoddes i'w fam." Y mae arbenigrwydd yn cael ei roddi i achos y fam yn yr holl hanes. Yr amser yr oedd wrth fedd Lazarus, er fod ganddo y fath awdurdod a fu yn effeithiol i alw ar y marw i ddyfod allan, eto wrth weled ei chwaer amddifad yn wylo, a'r Iuddewon y rhai a ddaethai gyda hi yn wylo, "Yr Iesu a wylodd." Pan oedd yn ngardd Gethsemane, a'i enaid yn drist iawn hyd angeu, ac yn gweddïo mewn llefain cryf a dagrau, a'i chwys fel defnynau o waed yn disgyn ar y ddaear; ïe, y pryd hwnw, yr oedd yn gallu cydymdeimlo â'i ddysgyblion pan oedd cwsg wedi eu gorchfygu. "Yr ysbryd yn ddiau sydd barod," meddai, "eithr y cnawd sydd wan." 'Er y buasai yn dda genyf i chwi allu ymgadw yn effro a gwylio gyda mi, eto nid wyf yn rhyfeddu eich bod yn trymhâu, nac yn ammheu dim am gywirdeb eich cariad tuag ataf; oblegid mi a wn am eich profedigaeth, eich lludded, a gwendid eich natur; yr wyf yn gallu cydymdeimlo â chwi.' "Gwyliwch a gweddïwch, nad eloch mewn profedigaeth." Yn yr adeg yr oedd ar y groes, drachefn, "Pan welodd ei fam, a'r dysgybl yr hwn a garai efe, yn sefyll gerllaw,"—yr oedd yn gwybod fod y cleddyf yn myned trwy ei henaid hithau, a bod y brofedigaeth o'i weled ef yn marw ar y pren melldigedig yn arteithio ei theimladau; ond y pryd hwnw y mae yn ei gorchymyn i ofal un y gwyddai y gwnai yn fawr am dani: ïe, er maint oedd ei ddyoddefiadau ef ei hunan, yr oedd yn cydymdeimlo â'i fam yn ei thrallod. Wel, yr un un yw Iesu Grist heddyw. "Canys nid oes i ni Archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef â'n gwendid ni; ond wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau, eto heb bechod." Nid ydych yn anghofio pwy ydyw? "Yr hwn, ac Efe yn ddysgleirdeb gogoniant y Tad, ac yn wir lun ei berson, ac yn cynnal pob peth trwy air ei nerth, wedi puro ein pechodau ni trwyddo Ef ei hun, a eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd." Yr Hwn y mae pob awdurdod yn y nef a'r ddaear yn ei law; yr Hwn sydd

yn deilwng o'r parch, yr ymostyngiad, a'r gwasanaeth mwyaf llwyr a didwyll oddiwrthyt ti; a'r Hwn sydd yn derbyn gwarogaeth holl angelion a cherubiaid y gogoniant: eto cofia, Gristion, y mae yn medru cydymdeimlo â thi—â thi ar dy ben dy hun, yn dy drallodau. Nid yn unig y mae yn gwybod am danynt, ond y mae yn cydymdeimlo â thi, a hyny am ei fod "wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau." Os wyt ti yn dlawd, fe fu yntau yn dlawd, ac y mae heb anghofio hyny eto. A oes rhyw rwystrau yn cael eu taflu ar dy ffordd di i fyw yn dduwiol? fe gafodd yntau ei erlid oblegid ei grefydd. A wyt ti mewn aml a blin gystuddiau? Yr oedd yntau yn "ŵr gofidus a chynnefin â dolur." Os yw temtasiynau y diafol yn gryfion, y mae Iesu Grist yn gwybod hŷd, a llêd, a dyfnder pob un o honynt. Ië, os oes arnat ti ofn marw, y mae Ef yn gallu cydymdeimlo â thi yn hyny. Ac y mae hyn oll i fod o dy blaid di—o blaid dy achub di, ac i beri i bob peth gydweithio i fod o fendith i ti.

Y mae yr ystyriaethau hyn yn cynnwys y cymhelliadau mwyaf nerthol i'r rhai sydd yn adnabod Iesu Grist, i'w garu ac i roddi eu hymddiried ynddo. Iddo Ef yr hwn a'n carodd, ac a ofalodd am danom, y mae yr holl fawl yn ddyledus am ein cadw rhag ein dyfetha. Ymha le y buasit ti heddyw, pe gadawsid rhwng y diafol a thi mewn llawer amgylchiad? Y mae yn brofiad genyt di dy hun, fe allai, wrth edrych yn ôl ar lawer adeg, "Braidd na lithrodd fy nhroed, prin na thripiodd fy ngherddediad." Y mae y dyn yn syndod iddo ei hun, pa fodd y diangodd â'i fywyd yn ysglyfaeth ganddo, gan mor agos y bu i'r llynclyn. Ond nid oedd y fyrddiynfed ran o'r perygl yn y golwg i ti. Beth pe buasit ti yn canfod lliosogrwydd aneirif y gelynion oedd yn dy amgylchynu, ac yn sychedu am dy waed di? y gynddaredd a'r elyniaeth oedd yn croni yn mynwes pob un o honynt am gael dy ben di i lawr? y malais a'r cyfrwysdra oedd wedi bod ar waith yn gosod maglau ar dy lwybr di? a'r holl bicellau tanllyd ag oedd gan y fall i'w hanelu at dy galon di, a phob un o honynt wedi eu trochi yn ngwenwyn y pydew diwaelod? Beth pe buasit ti yn gallu canfod yr holl bethau hyn yn eu nerth? Ond yr oedd muriau yr amddiffynfa oedd yn dy amgylchynu yn eu cadw o'th olwg di. Yr oedd angerdd y tân

wedi ei ddiffodd gan Iesu Grist bob tro cyn i ti fyn'd iddo, a grym y demtasiwn wedi ei dori cyn iddi ddyfod yn agos atat. "Fel y cyfyd eryr ei nyth, y castella tros ei gywion, y lleda ei esgyll, y cymer hwynt, ac a'u dwg hwynt ar ei adenydd, felly yr Arglwydd yn unig a'th arweiniodd dithau." Pwy na ddymunai fod yn eiddo iddo, ac na ddymunai galon i'w garu, a rhoddi ei holl ymddiried ynddo!

# PREGETH XXII.

## TRUGAREDD YN NUW.

### GAN Y PARCH. SAMUEL ROBERTS, BANGOR.

"Trugaredd hefyd sydd eiddot ti, O Arglwydd: canys ti a deli i bob dyn yn ol ei weithred."—PSALM lxii. 12.

Y MAE Dafydd, yn y Salm hon, yn gosod allan ei ddysgwyliad llwyr wrth, a'i ymddiried hollol yn, yr Arglwydd; a'r teimlad cysurus o ddiogelwch yr ydoedd yn ei fwynhâu trwy hyny: "Wrth Dduw yn unig y dysgwyl fy enaid: o hono Ef y daw fy iachawdwriaeth." Teimlai ei fod mewn castell anorchfygol—nad allai neb ei niweidio, ac nad oedd nerth a chyfrwysdra ei elynion ond yr eiddilwch a'r ffolineb penaf: "craig fy nghadernid, a'm noddfa, sydd yn Nuw." "Efe yn unig yw fy nghraig, a'm hamddiffyn; ni'm mawr ysgogir." "Pa hyd y bwriedwch aflwydd yn erbyn gŵr? lleddir chwi oll." "Gwagedd yn ddiau yw meibion dynion, geudab yw meibion gwŷr:—ysgafnach ydynt hwy i gyd na gwegi."

Dau beth, yn benaf, y mae y Salmydd yn eu dangos yma, a barai iddo deimlo mor hyderus a diysgog; sef, fod cadernid a thrugaredd yn eiddo yr Arglwydd. Yr oedd yr Arglwydd wedi cyhoeddi hyny lawer gwaith, ac yr oedd Dafydd wedi credu y cyhoeddiad: "Unwaith y dywedodd Duw, clywais hyny ddwywaith;" clywodd fy nghlustiau a chlywodd fy nghalon—clywais i bwrpas—clywais a chredais. Neu, fel y mae rhai yn darllen, "Dywedodd Duw unwaith, ïe, ddwywaith"—hyny ydyw, lawer gwaith—fod cadernid a thrugaredd yn eiddo iddo. Neu, yn unol â darlleniad arall, hyn ydoedd swm y cwbl a glybuwyd ganddo am yr Anfeidrol: y ddau beth a ddadguddiwyd yw, mai Duw yw gwreiddyn cadernid, a ffynnonell trugaredd. Dywedir mai i'r ystyr yma y mae y cyfieithiad llythyrenol o'r geiriau; a darllenir hwy fel hyn, "Unwaith y dywedodd Duw; y ddau beth hyn a

glywais i, mai eiddo yr Arglwydd yw cadernid, ac i ti, Arglwydd, y perthyn trugaredd." Buasai meddwl am Dduw yn un hollalluog, heb drugaredd hefyd yn eiddo iddo, yn arswydus ac yn ofnadwy i bechadur; eithr fel y byddo y meddwl yn briodol am yr Anfeidrol, y mae y dadguddiad o hono yn fwy cyflawn—"Trugaredd hefyd sydd eiddot ti."

> **"Ond fel y'th ofner di yn iawn,**
> **Yr wyt yn llawn trugaredd."**

Amlyga yr Arglwydd ei drugaredd *trwy sylwi ar weithred dyn, i'w gwobrwyo.* Er fod yr Arglwydd yn rhyfelwr, yn "nerthol a chadarn—cadarn mewn rhyfel;" eto y mae yn gyfryw un, pe byddai i ryw fachgen o fugail, â dim ond ffon dafl a chareg, ddyfod allan i wynebu y gelyn, efe a sylwai arno i'w wobrwyo; canys y mae yn talu i bob dyn yn ol ei weithred.

Y mae ei drugaredd yn cael ei hamlygu hefyd, *pan yn dyfod allan i amddiffyn cweryl ei bobl, trwy ddyfetha eu gelynion.* Tarawodd yr Aipht yn eu cyntafanedig; o herwydd bod ei drugaredd yn dragywydd. Ac i yr un achos y priodolir ysgytiad Pharaoh a'i lu yn y Môr Coch —taraw breninoedd mawrion—lladd breninoedd ardderchog, &c., sef, am fod ei drugaredd yn dragywydd.

Fe allai fod y Salmydd, yn y fan hon, yn cyhoeddi fod cadernid a thrugaredd yn perthyn i'r Arglwydd, er dychryn a digalondid i'w elynion a fwriadant ei aflwydd. Neu, yn ol darlleniad arall—"er hyny Efe a dâl i bob dyn yn ol ei weithred." Nid ydyw fod *trugaredd* yn eiddo yr Arglwydd yn caniatâu i ddyn dybied y caiff fyned rhagddo yn ei anwiredd yn ddigosb; na! "er hyny Efe a dâl." Ni bydd fod trugaredd yn eiddo yr Arglwydd yn un rhwystr iddo weinyddu y gosbedigaeth haeddiannol ar yr euog anedifeiriol; canys "er hyny Efe â dal i bob dyn yn ol ei weithred." Rhoddir canmoliaeth uchel i'r Arglwydd gan y Salmydd yn Psalm lxviii. "Bendigedig *fyddo* yr Arglwydd, *yr hwn* a'n llwytha beunydd â daioni; sef Duw ein hiachawdwriaeth. Ein Duw ni sydd Dduw iachawdwriaeth; ac i'r Arglwydd Dduw y perthyn diangfäau rhag marwolaeth." Ond yn ymyl hyny, yr ymadrodd cyntaf, ac yn gysylltiol â hyn, dywedir, "Duw yn ddiau a archolla ben ei elynion, a chopa walltog yr hwn a rodio rhagddo

yn ei gamweddau." Cyffelyb i'r ystyr, yn unol â'r darlleniad—"er hyny Efe a dâl i bob dyn yn ol ei weithred."

*Yr hyn yr ydoedd y Salmydd wedi ei deimlo yn gymhelliad cryf iddo ef ei hun i ymddiried yn yr Arglwydd, a ddefnyddia fel annogaeth i eraill i osod eu hymddiried yn yr un fan:* "Gobeithiwch ynddo Ef bob amser; O bobl! tywelltwch eich calon ger ei fron Ef: Duw sydd noddfa i ni." Y mae yn un o briodoliaethau gwir grefydd, fod yr enaid sydd yn ei meddu yn awyddus am i eraill gael eu dwyn i fwynhâd o'r cyfryw ddedwyddwch a hwythau. Nid peth yn dybenu yn ei meddiannydd yw gwir grefydd: y mae ei pherchen yn un teimladwy dros, ac yn haelionus yn ei ddymuniadau ar ran eraill hefyd. Gwir ddymuniad calon y dyn duwiol, a'i weddi ar Dduw dros eraill, sydd er iachawdwriaeth. Y mae y teimlad yma yn Dafydd; y mae mewn pryder am i eraill gael y peth a gawsai ef. Y mae ei galon yn ëang; nid oes dim yn grintachlyd ynddo: "O bobl! dowch, gobeithiwch ynddo Ef—Duw yw fy noddfa i, bydded felly i chwithau." Fel pe dywedasai, Ymddiriedwch yn Nuw, gellwch fod yn ddiofn ac yn ddiarswyd, ni chaiff neb na dim eich niweidio; canys ei eiddo Ef yw *cadernid.* Ië, fel pe yr ychwanegai, Ymddiriedwch ynddo, nac ofnwch, ni wna Efe byth ddim i ddigaloni y neb a ymddiriedo ynddo; y mae "nerth i obeithio," canys *trugaredd* hefyd sydd eiddo. Bydd ei ardderchogrwydd yn ddychryn i bob gelyn; ac Efe a bâr i'w arswyd syrthio ar y neb a fwriado ddrwg i'r enaid sydd yn gobeithio ynddo; canys ei eiddo Ef yw cadernid. Ond a ddadleua Efe, dybygech chwi, â helaethrwydd ei gadernid yn erbyn y truan a ymddiried ynddo? Na wna; ond yn hytrach o lawer efe a osodai nerth ynddo; canys trugaredd hefyd sydd eiddo iddo. Os bydd gelynion pobl yr Arglwydd yn gryfion, yn lliosog, ac yn haerllug, nid rhaid i'w bobl Ef ofni, oblegid "eu Gwaredwr sydd gryf; Arglwydd y lluoedd yw ei enw; Efe a lwyr ddadleu eu dadl hwynt;" canys ei eiddo Ef yw cadernid. Os teimla ei bobl yn wan ac yn llesg, Efe a'u cynnal hwynt â'i law. Efe a rydd nerth i'r diffygiol, Efe a amlhâ gryfder i'r dirym. Rhydd faner ei gariad trostynt. Efe a'u cynnal â photelau, ac a'u cysura âg afalau. Bydd ei law aswy dan eu pen, a'i ddeheulaw yn

eu cofleidio. Canys trugaredd hefyd sydd eiddo iddo. Os bydd rhai fel bleiddiaid rheibus, ac fel bwystfilod ysglyfaethus, am ymosod ar ei braidd, Efe a rydd ei lef a'u gwasgar hwynt; Duw y gogoniant a darana; canys ei eiddo yw cadernid. Ond na ddychryned y praidd bychan; y mae y fath dynerwch yn yr Arglwydd; canys "Fel bugail y portha Efe ei braidd; â'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes, ac a goledda y mamogiaid;" oblegid "trugaredd hefyd" sydd eiddo iddo.

Cyhoedda ein testun y gwirionedd annhrisiadwy i bechadur, sef FOD TRUGAREDD YN NUW.

Rhydd y geiriau fantais i ni sylwi ar

I. DRUGAREDD YN EI FFYNNONELL.

II. TRUGAREDD YN EI FFRYDIAU.

Trugaredd yn ei hanfod, a thrugaredd yn ei gweithrediad.

I. TRUGAREDD YN EI FFYNNONELL.

*Y mae trugaredd yn Nuw; y mae yn hanfodol ynddo; nid ydyw yn bod heb drugaredd.* Ac megys y mae yr oll o'i briodoliaethau yn ogymaint a'r Anfeidrol ei hun, felly y mae ei drugaredd hefyd. Y mae yn ogyfuwch, yn ogyhyd, ac yn gyflêd a'r Duwdod ei hunan: "Trugaredd yr Arglwydd sydd o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Efe yw ei drugaredd. Eu *lle* sydd i bobpeth yn y grëadigaeth. Pa beth bynag yr edrychwn arno o waith y Crëawdwr mawr, nid oes iddo ond ei le. Wele yr haul, y "goleuad mwyaf," yr hwn sydd fel brenin "yn llywodraethu y dydd," er cymaint ei lywodraeth, er mor ëang ei fesur, nid oes ganddo ond ei le i'w lanw; ac nid yw hwnw ond bychan mewn cymhariaeth i ëangder anfesurol y ffurfafen y mae ynddi. "I'r haul y gosododd Efe babell ynddynt." Nid felly y mae trugaredd Duw; nid pabell i breswylio, nid rhyw fan penodol i aros sydd ganddi hi; ei "drugaredd sydd ar ei holl weithredoedd." Pa beth bynag sydd briodol i Dduw, hyny ydyw Efe. A ydyw cariad felly? ydyw, "Duw cariad yw." Felly am yr oll o'i briodoliaethau: cyfiawnder yw; sancteiddrwydd yw; a thrugaredd ydyw Duw.

*Y mae yr Arglwydd yn ymogoneddu yn ei drugaredd.* Er na ellir dyweyd fod y naill berl yn ddysgleiriach na'r llall yn ei goron ogoneddus Ef; er nad arall yw gogoniant y naill, ac arall yw gogoniant y llall; eto, rywfodd, y mae yn ymddangos i ni—ar rai prydiau o leiaf—fel pe byddai

"rhagor rhwng seren a seren mewn gogoniant" yn ei goron ardderchog Ef. Y mae trugaredd yn rhyw seren sydd yn llewyrchu yn ddysglaer iawn ar ein byd ni; ac y mae yn dra eglur fod yn "hoff ganddo drugaredd." Mae yn debyg fod gan yr Arglwydd amcan pwysig mewn golwg, pan yn peri i belydrau ei drugaredd ddisgyn mor ddysglaer ar ein daear ni. Pe ei sancteiddrwydd pur fuasai ar bob adeg yn dysgleirio yn ddambaid, ni allasai y pechadur aflan a halogedig lai nag arswydo a gwaeddi, "Nid oes obaith." Pe ei gyfiawnder a fuasai yn wastad yn dysgleirio, yna llanwesid yr euog â braw, ac yn ei ofn a'i arswyd torasai allan i lefain, "Pwy a ddichon sefyll?" Ond fel y byddai i'r pechadur truan "nerth i obeithio," gofala ein Duw daionus am i'w drugaredd ddysgleirio yn amlach; a dyma brofiad llawer, "Mor werthfawr yw dy drugaredd, O Dduw! am hyny yr ymddiried meibion dynion dan gysgod dy adenydd." Y mae ei phelydrau fel eiddo'r haul, yn dwyn "meddyginiaeth yn ei esgyll." Yn yr amlygiadau yma o hono ei hun y rhoddai yr Arglwydd fantais i ddynion gael gafael arno. Dadleuant yn fynych ger ei fron, "er mwyn dy drugaredd." "Dangos i ni, Arglwydd, dy drugaredd; maddeu, attolwg...... yn ol dy fawr drugaredd." A phwy a ŵyr nad i'r dyben yma y mae yn ymddangos mor fynych fel pe yn cyfrif ei drugaredd fel ei ogoniant? Pan y gofynai Moses y ffafr, "Dangos i mi, attolwg, dy ogoniant," atebid y dymuniad trwy gyhoeddi ei enw fel Duw trugarog. Gofynai Moses y ffafr hon yn fuan wedi yr amlygiadau rhyfedd ac ofnadwy a roddasai yr Arglwydd o hono ei hun ar ben Sinai —o ganol y mŵg, a'r tân, a'r tywyllwch, a'r taranau, a'r mellt, pan yr oedd y bobl bron llewygu gan ofn. "Ac mor ofnadwy oedd y golwg, ag y dywedodd Moses, Yr ydwyf yn ofni ac yn crynu." Eto tybiai Moses fod "yn Nuw ogoniant mwy" nag a welodd tua Sinai. 'Awgrymwyd yn yr ail o'r deng air fod ynddo drugaredd: 'choelia i ddim nad oes yna rywbeth mwy nag a welais i.' "Dangos i mi, attolwg, dy ogoniant." Dywedai Duw, "Gwnaf," a pharodd i'w ddaioni fyned heibio o flaen ei wyneb. Cyhoeddodd ei enw; ac allan o'r wyth gair a ddefnyddiai i hyny, y mae sŵn trugaredd mewn chwech o honynt. Yr wyth lythyren, â pha rai y sillebai y Duw mawr ei enw i Moses y dydd hwnw, y mae sain trugaredd yn

perthyn i chwech o honynt. "Jehofah, Jehofah, y *Duw trugarog,*" *&c.* Dyma fy enw—dyma pa fath un ydwyf—dyma fy *ngogoniant.* Ymfawryga yr Arglwydd yn ei holl briodoliaethau. Y mae yr oll o honynt yn ardderchog mewn gogoniant, a'r naill fel y llall yn anwyl ganddo. Ni all, ac ni fỳn, Efe wadu ei hun yn yr un o honynt; y maent oll yn anhebgorol i Fôd anfeidrol berffaith. Eto y mae yn *ymddyrchafu* i drugarhâu: "Efe a ymddyrchafa i dosturio."

*Er fod trugaredd yn Nuw fel ef ei hun, eto nid ydyw yn anmhriodol edrych arni yn gymhariaethol, mewn dull arall.* Y mae yr Arglwydd, gan ymostwng at ein hamgyffred ni, yn defnyddio cymhariaethau i ddangos "y pethau ni welir." Arweinia ni i wybodaeth am dano ei hun, trwy osod ei hunan ger ein bron mewn dull sydd gyffredin i ni; Efe a'n cynnorthwya ni i feddwl am dano ei hun fel *yr Anweledig,* trwy gyfrwng pethau gweledig. Ysbryd anweledig yw Efe, heb gorff ac heb ranau; eto weithiau y mae yr Ysgrythyrau yn llefaru am dano, gan briodoli iddo wyneb, a deheulaw, a braich sanctaidd; a dywedyd fod ei glustiau yn agored i wrando llef dyn, &c. Er mai "goleuni *yw* Duw," eto dywedir ei fod yn gwisgo goleuni fel dilledyn. Er mai hollalluog *yw* Efe, eto gosodir ef allan fel yn gwisgo nerth ac yn ymwregysu; ei fod yn gwisgo cyfiawnder fel llurig. Felly hefyd y mae yr Arglwydd yn gwisgo trugaredd; ac mi feddyliwn mai dyma ei wisg uchaf. Annogai yr Apostol y Colossiaid, "Am ben hyn oll gwisgwch gariad." Y mae yn gweddu i'w bobl ef, at y cwbl a feddant, ychwanegu cariad. Y mae yr Arglwydd, am ben yr hyn oll yw, yn gwisgo trugaredd hefyd. Arfera y Bibl lefaru am rai heb eu gwisg uchaf am danynt, fel rhai noeth; nid yw yr Arglwydd yn edrych arno ei hun yn gyflawn, heb wisgo trugaredd hefyd. Ond nid gwisg i guddio dim arall yw trugaredd, eithr y mae fel y wisg oedd am yr Iesu ar fynydd y gweddnewidiad—"fel y goleuni." Y mae yr oll o Dduw i'w ganfod trwy ei drugaredd. Nid yw yn cuddio ei nerth, ei sancteiddrwydd, ei wirionedd, na'i gyfiawnder,

Y mae priodoliaethau yr Anfeidrol fel rhyw osgorddlu ardderchog yn ei amgylchu Ef; ond y mae dwy o flaen ei wyneb yn wastadol. Trugaredd yw un o'r rhai hyn. "Trugaredd a gwirionedd a ragflaenant dy wyneb." Yr olwg

gyntaf yr ydym yn ei gael ar Dduw yw ei drugaredd; y mae yn rhagflaenu ei wyneb. "Fy Nuw trugarog a'm rhagflaena." Nid ydyw Duw wedi edrych arnom ni erioed eto ond trwy ei drugaredd; y mae trugaredd o flaen ei wyneb: ac os try ei gefn arnom mewn soriant am enyd, pan y dychwel, gallwn fod yn sicr mai ei drugaredd a welir gyntaf. "Dychwelais at Jerusalem â thrugareddau."

Nis gall yr un o briodoliaethau Duw fyned allan i wneuthur dim yn ein byd ni, heb fyned heibio ei drugaredd, gan ei bod yn rhagflaenu ei wyneb. Y mae mewn lle mor fanteisiol, clyw gri y truan yn y fan pan lefo; y mae o flaen ei wyneb. Y genad gyntaf a enfyn yr Arglwydd, pan lefo y truan, yw ei drugaredd. Dacw enaid mewn trallod ac aflwydd, yn llechu yn ei amddiffynfa, ac yn gwaeddi i'r nefoedd, "Galwaf ar Dduw goruchaf; ar Dduw a gwblhâ â mi." Beth fydd y canlyniad? O! "Efe a enfyn o'r nefoedd ac a'm gwared oddiwrth warthrudd yr hwn a'm llyncai." Pwy a anfonir? "Duw a ddenfyn ei drugaredd a'i wirionedd." Hoff negeseuwr Duw i'n byd ni yw trugaredd. Y mae amgylchiadau y bydd rhaid anfon cenadwyr eraill weithiau, fel y dywedai Joab wrth Ahimäas gynt, "Ni byddi di yn genadwr y dydd hwn." Ond, os anfonir cenad arall, bydd trugaredd fel y llanc hwnw am gael dyfod hefyd. "Beth bynag a fyddo, gâd i minnau, attolwg, redeg ar ol Cusi." Er dyweyd, "I ba beth y rhedi di? nid oes genyt genadwriaeth addas;" nid yw y genadwri heddyw yn gydnaws â'r rhai a arferi di eu dwyn. "Ond beth bynag fyddo, gâd i mi redeg." Medraf fi fyned â chenadwri fel hyn, i'w chyfleu mewn dull mwy tyner na'r genad arall; gâd i mi redeg. Wel, rhêd; ac y mae mor gyflym ei ysgogiad, bydd o flaen y llall yn mhen y daith. Ac fel yr oedd adnabyddiaeth Dafydd o Ahimäas, yn peri iddo deimlo yn hyfryd pan y dywedai y gwyliedydd oddiar y mur pwy oedd y rhedegwr blaenaf, felly y mae trugaredd bellach yn adnabyddus yn ein byd ni—fe'i hadweinir o bell, ac y mae iddi y fath gymeriad, mai "*da ydyw*," ac *mai â* "*chenadwriaeth dda y daw yn wastad.*"

*Y mae trugaredd fel pe byddai yn hyrwyddo a phrysuro gweithrediad gallu, pan y byddo dynion yn llefain am waredigaeth mewn cyfyngder.* Dacw Moses mewn cyfyngder ar

làn y môr, yn llefaru wrth y bobl i'w calonogi, ac yn ocheneidio at Dduw yr un adeg. Nerth, nerth! gwrando, meddai trugaredd, y mae Moses yn gwaeddi. "Deffro, deffro, fraich yr Arglwydd." Brysia i waredu, gadernid tragywyddol. Agor y môr, fraich hollalluog. Beth wnei di, drugaredd? Minnau a ddeuaf hefyd. Agor di y môr, daliaf finnau y ganwyll i'w goleuo trwodd; caiff goleuni dysglaer fod yn tywynu o'u blaen i'w cyfarwyddo trwodd; caiff dysgleirdeb fy wyneb i ddangos y ffordd a agori; a bydd fy nhu cefn ar eu gelynion, yn dywyllwch dudew i'w dyrysu; a gwae fydd iddynt! Lle tywyll sydd ymhob man lle nad yw *wyneb* trugaredd. "Fy ngwegil, ac nid fy wyneb, a ddangosaf iddynt yn amser eu dialedd."

*Mae trugaredd fel pe byddai am attal, ac oedi yr amser, pan y bydd cadernid yn myned allan i ddinystrio a dyfetha.* Y mae yn "hirymarhöus, heb ewyllysio fod neb yn golledig;" yn goddef "trwy hirymaros lestri digofaint, wedi eu cymhwyso i golledigaeth." I ba le heddyw, gyfiawnder a nerth? "Diwedd pob cnawd" sydd ger bron heddyw; "oblegid llanwyd y ddaear â thrawsedd trwyddynt hwy." Felly y mae, meddai trugaredd; ond, attolwg, beth yw dy fwriad, fraich sanctaidd? Rhwygaf ffynnonau y dyfnder, agoraf ffenestri y nefoedd, dygaf ddwfr diluw, dilëaf ddyn yr hwn a grëais, yr hyn oll sydd ar y ddaear a drenga. Tybiwn glywed trugaredd yn dadleu, O allu anfeidrol! O gyfiawnder pur! oeda dy ymweliad; bydd ymarhöus; dywed wrth Noah gyfiawn; anfon ef i rybuddio; bydd yn ddigon buan i wneuthur dinystr fel yna ymhen ugain mlynedd a chant.

I ba le y cychwynwch heddyw, sancteiddrwydd a gallu? "Y mae gwaedd Sodoma a Gomorrah yn ddirfawr, a'u pechod hwynt yn drwm iawn;" dyfethaf hwy â "brwmstan a thân o'r nefoedd." Y maent felly, O sancteiddrwydd! meddai trugaredd; ond cymer yn araf, yr wyt ti wedi eu goddef yn rhyfedd hyd yn hyn. Myfi a ddeuaf gyda thi ran o'r ffordd tuag yno. Ni a awn i edrych am Abraham a Sarah; caffed Sarah amser i ddangos ei charedigrwydd i ni, trwy barotôi tair phïolaid o flawd peilliaid, ei dylino, a'i grasu, ac i Abraham gymeryd llo o'r praidd, a'i roi i'r llanc i'w barotoi. Ac felly hwy a aethant ynghyd. Ac ar ol dyfod at Abraham, a chymeryd amser i roi yr addewid werthfawr i'r hen batriarch am fab, yn yr hwn y

bendithid holl genedloedd y ddaear, a dywedyd cyfrinach eu taith wrtho, ac wedi yr holl ymdroi, ymadawodd trugaredd, a thrannoeth y dyfethwyd y dinasoedd.

Nerth Duw! nid oes dim yn anmhosibl, dim yn anhawdd iddo. Gallu yr Anfeidrol! galwodd y bydoedd aneirif yna i fod, trefnodd y greadigaeth, dodrefnodd y byd, planodd a hauodd ef â phob rhywogaeth o goed a llysiau, ac addurnodd y nefoedd; a'r cwbl mewn *chwe' diwrnod*. Nid oedd trugaredd yn attal nac yn oedi y gwaith hwn. Yr ydoedd, fel doethineb, yn llawenychu yn nghyfanneddle ei ddaear, a'i hyfrydwch oedd gyda meibion dynion. Ond wele allu yn cymeryd *saith niwrnod* i ddyfetha un dref gaerog fechan. Gwneuthur y byd, ïe bydoedd, mewn *chwe' diwrnod*, ac wele *saith niwrnod* yn myned heibio i ddyfetha un dref fechan. Pa fodd y mae hyn? O, mi feddyliwn mai trugaredd oedd â'i llaw yn hyn, yn dadleu "bydd ymarhöus;" gỳr y bobl o amgylch y dref am saith niwrnod; ac wedi i'r seithfed dydd ddod, gỳr hwy oddiamgylch saith waith heddyw; bydd yn ddigon buan y tro diweddaf i ddyfetha; mi a welaf nad oes ond y nifer bychan sydd yn y tŷ, lle y mae yr edau goch yn y ffenestr, i'w harbed.

Y mae yr Arglwydd yn gwênu wrth weled trugaredd yn llwyddo; "canys nid o'i fodd y mae yn blino plant dynion." Gwell ganddo bob peth na hyny. Pan yn myned at y gorchwyl, y mae fel un yn cyflawni dyeithrwaith—peth nad yw yn arfer. Gofyna, "Beth a wnaf i ti?" "Pa fodd y'th roddaf i fyny?" Y mae weithiau yn gosod ei hun allan fel heb arfau at y gwaith o ddyfetha a dinystrio. Rhaid chwilio am fenthyg neu logi erfyn at y gorchwyl; "Yn y dydd hwnw yr eillia yr Arglwydd â'r ellyn a gyflogir." Ond ni bydd byth eisieu benthyg na chyflogi offeryn i drugarhâu—digon ganddo wrth law. Ei hoff waith yw trugarhâu. Pan y mae yn tynu ymaith ei farnau, y mae yn ymddigrifo dan ganu y pryd hyny.

*Nid yn unig y mae yr Arglwydd yn ymogoneddu ac yn ymfawrygu yn ei drugaredd, ond y mae am i ddynion wneuthur felly hefyd.* Caiff dynion ymffrostio a gorfoleddu, os gwyddant am drugaredd Duw yn eu hymgeleddu. Ni wêl yr Hollwybodol ei hun ddim ar y ddaear yn werth i ddyn ymffrostio a gorfoleddu ynddo. Yn wir, mae pob gorfoledd ac ymffrost ddaearol yn cael ei wahardd—ei

gau allan. "Nac ymffrostia" yw y gorchymyn parhaus. Yfory yr ydym yn meddwl am hyfrydwch mawr. Cawsom ddigrifwch heddyw; "bydd yfory megys heddyw, a mwy o lawer iawn." "Ni wyddoch beth fydd yfory." "Nac ymffrostia o'r dydd yfory; canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod." "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Nac ymffrostied y doeth yn ei ddoethineb." Paham? Y mae llawer yn ddoethach nag ef. Bu amser yr oedd fel llwdn asyn gwyllt ei hun; ac fe allai eto mai yn ei ddiwedd ynfyd fydd. "Nac ymffrostied." "Nac ymffrostied y cryf yn ei gryfder." Paham? Bu yn rhy wan i ymgynnal; nid yw ei gryfder eto ond gwendid, wrth gryfder rhai crëaduriaid eraill; ac y mae yr adeg yn ymyl pan y bydd y "ceiliog rhedyn yn faich." "Nac ymffrostied." "Nac ymffrostied y cyfoethog yn ei gyfoeth." Paham? Wel, y mae digon o resymau; fe allai mai cyn iddo hanner gorphen ei ymffrost y bydd ei gyfoeth wedi cymeryd adenydd a'i adael. Y mae golud yn anwadal, ac yn ebrwydd iawn bydd y mwyaf ei gyfoeth yn cael ei alw i fyd nad all gymeryd gydag ef gymaint ag a ddygai un yn ei law. "Canys ni ddygasom ni ddim i'r byd, ac eglur yw na allwn ddwyn dim allan chwaith." Nac ymffrostia. Yna ni chaiff dyn ymffrostio mewn dim? O caiff; ond edryched am beth teilwng. Os yw "yn deall, ac yn fy adnabod i, mai myfi yw yr Arglwydd a wna drugaredd." "Ymffrostied yn hyn." Ac o fawr ddaioni yr Arglwydd, y mae llïaws yn ein gwlad oeddynt y misoedd diweddaf yn ymffrostio mewn oferedd, erbyn hyn yn ymffrostio yn eu hadnabyddiaeth o Dduw, fel un "mawr yn ei drugaredd." "Yr Arglwydd sydd hoff ganddo y rhai a'i hofnant Ef, sef y rhai a ddysgwyliant wrth ei drugaredd."

*Y mae y saint yn hoffi dadgan ei drugaredd.* Canmolant Ef am ardderchogrwydd a phrydferthwch ei weithredoedd, ac am ogoniant ei fawredd. Nid ydynt yn ôl i neb am hyn. Ond am ei ddaioni a'i drugaredd yr ymddyrchafant mewn canmoliaeth. Cydunai Dafydd, yn Salm cxlv., â phawb i ganmawl *mawredd* ei Dduw: "Cenedlaeth wrth genedlaeth a fawl dy weithredoedd, ac a fynega dy gadernid." Gwnaf finnau hyny: "Ardderchogrwydd gogoniant dy fawredd, a'th bethau rhyfedd, a draethaf." "Traethant hwy gadernid dy weithredoedd ofnadwy."

Cydunaf â hwy: "Mynegaf finnau dy fawredd." "Coffadwriaeth amlder dy ddaioni a draethant," &c. Yna y mae y Salmydd wedi cael gafael yn ei hoff destun: "Graslawn a thrugarog yw yr Arglwydd," ac y mae yn dilyn i ddiwedd y Salm, gan osod allan weithredoedd aneirif ei drugaredd a'i ddaioni Ef.

II. TRUGAREDD YN EI FFRYDIAU: *trugaredd yn ei gwaith.*

*Y mae ffrydiau trugaredd yn rhedeg i bob man yn ein daear ni.* Nis gellir edrych i un lle nas gwelir hwy. Nid oes un anialwch diffaeth a chrâs, nad oes llawer o'r ffrydiau yma ynddo. Ni adawodd Efe ei drugaredd yn ddidyst mewn un hinsawdd na gwlad. Rhoddi gwlaw o'r nefoedd, a llenwi calonau â lluniaeth ac â llawenydd. Nid ymgudd dim oddiwrth wres caredigrwydd trugaredd; "peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn." Yr oedd un afon fawr yn ngardd Eden—rhaid ei bod yn un fawr—canys "oddiyno hi a ranwyd ac a aeth yn bedwar pen," a'r rhai hyny yn afonydd cryfion. Y mae ffynnon anhyspyddadwy o drugaredd yn Nuw; ac y mae yn rhedeg o hono i'n byd ni, yn ffrydiau *aneirif.* Ffynnon trugaredd yw Duw—ffynnon redegog —"ffynnon y dyfroedd byw:" cyflawnder i'w gyfranu. Cadw i roi y mae ein Duw ni: "cadw trugaredd *i* filoedd." O hono Ef y rhêd pob cymwynas i ni: "Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddiuchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni." O'r ffynnon fawr hon y rhêd y cwbl i'n mân ffynnonau ni: "Fy holl ffynnonau sydd ynot ti." Byddwn ni yn ceisio gwneyd ffynnon yn fynych, fel y rhai yn myned trwy ddyffryn Bacha; ond rhaid cael y gwlaw oddiuchod o'r ffynnon fawr i'w llenwi.

*Y mae trugaredd ar holl weithredoedd Duw:* "A'i drugaredd sydd ar ei holl weithredoedd." *Yn uwch* na'r oll o honynt, medd rhai; *ar* yr oll, medd eraill, ar bob un o honynt. Mae ôl ei drugaredd ar bob peth a wna; y mae argraff ei drugaredd ar y cwbl o'i weithredoedd; nid oes dim yn dyfod dan ei law heb y ddelw hon arno. Gwna y cwbl yn deilwng o hono ei hun fel Duw trugarog; ni wnaeth ddim erioed i gymylu ei drugaredd. Gwelai Dafydd drugaredd yr Arglwydd ymhob un o'i weithredoedd: "Yr Hwn a wnaeth y nefoedd mewn doethineb—yr Hwn a estynodd y ddaear oddiar y dyfroedd—yr Hwn a wnaeth oleu-

adau mawrion—yr haul i lywodraethu y dydd, y lleuad a'r sêr i lywodraethu y nos;" a'r cwbl "o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd." Ac y mae yn priodoli gweithredoedd Duw y nefoedd yn ei ragluniaeth i'r un achos. Gwel Psalm cxxxvi.

*Ond yn nhrefn iachawdwriaeth y mae yr amlygiad penaf a chyflawnaf o'i drugaredd.* Dyferu yr oedd trugaredd ymhob man arall, ond yma y mae y pistylloedd mawrion yn ymdywallt. Yma y mae holl bethau prydferth, dymunol, a gwerthfawr iawn, trugaredd yn cael eu diogelu a'u dangos. Yr oedd Pison, un o'r pedair afon a ddaeth o Eden, "yn amgylchu holl wlad Hafilah, lle y mae yr aur," a'r man yr oedd y "bdeliwm a'r maen onix." Trugaredd, yn nhrefn y cadw, sydd yn amgylchu yr holl randiroedd y mae y "meini bywiol" ynddynt, sef perchenogion gwir ffydd, "yr hon sydd werthfawrusach na'r aur colladwy." Y mae ffrydiau afon trugaredd yn llawenhâu dinas Duw. Ar hyd hon mae yr addewidion, fel llongau llwythog o ras, a chysur, a chynnaliaeth ysbrydol, yn dyfod i'r dinaswyr.

Ffrwyth neu effaith ei drugaredd, ydyw iachawdwriaeth yn yr oll o honi. O'r meddwl cyntaf i'r perffeithiad o honi, nid ydyw yn ddim llai na thrugaredd yn dyfod i'r golwg. "Enaint daionus" oedd trugaredd yn Nuw erioed; enaint tywalltedig yw yn yr iachawdwriaeth; y mae arogl trugaredd ar bob peth ynddi. Cynllun o eiddo trugaredd ydyw trefn y cadw: "Yn ol ei drugaredd yr achubodd Efe ni." Nid dim haeddiant, na theilyngdod, ynom ni: "Felly gan hyny, nid o'r hwn sydd yn ewyllysio y mae, nac o'r hwn sydd yn rhedeg chwaith; ond o Dduw, yr hwn sydd yn trugarhâu." "Yr Hwn yn ol ei fawr drugaredd a'n hadgenedlodd ni i obaith bywiol." O'i drugaredd y mae pob gras a ffafr yn dod. Felly y dadleuai y saint, "yn ol dy drugaredd"—"er mwyn dy drugaredd, &c." Ac nid yw diogelwch a dedwyddwch tragywyddol trefn iachawdwriaeth yn y byd a ddaw, yn ddim llai na darpariaeth trugaredd. "Dysgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol," y mae ei holl saint.

*Y mae trugaredd Duw i'w bobl, yn nhrefn iachawdwriaeth, yn cael ei gosod allan yn gysylltiedig â rhyw deimlad o dynerwch a thosturi mawr.* "Tiriondeb trugaredd ein Duw"

ydyw holl ymweliadau ei iachawdwriaeth Ef. Am hyny fel hyn yr apeliai Dafydd, pan yr oedd ei anwiredd wedi ei ddal, a'i bechod yn wastad ger ei fron, "Trugarhâ wrthyf, O Dduw, yn ol dy drugarogrwydd: yn ol lliaws dy dosturiaethau, dilëa fy anwireddau." Ac mewn trallod dro arall, dadleuai, "Cofia, Arglwydd, dy dosturiaethau a'th drugareddau; canys erioed y maent hwy." I ddangos ei hoffder o Ephraim edifeiriol, dywed yr Arglwydd, "Am hyny fy mherfedd a ruant am dano ef; gan drugarhâu y trugarhâf wrtho ef, medd yr Arglwydd."

Mae y cymhariaethau a ddefnyddir i ddangos trugaredd Duw i'w bobl, y rhai cryfaf i ddangos tynerwch teimlad. "Fel y tosturia tad wrth ei blant, felly y tosturia yr Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef." Pe byddai y plentyn mewn cyfyngder neu berygl, O! fel y teimla y tad yn y fan; ni byddai dim yn ormod ganddo wneuthur erddo. "Felly y tosturia yr Arglwydd." Neu os tybir fod y teimlad tosturiol yn gryfach yn y fam, defnyddir y gymhariaeth hon: "A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturio wrth fab ei chroth?" Y mae yn ymddangos yn annhebyg yr anghofia mam dyner ei phlentyn, yn enwedig ei phlentyn sugno; er hyny, "ïe, hwy a allant anghofio, eto myfi nid anghofiaf di." Pe bae holl deimladau tyner pob tad a mam wedi eu casglu ynghyd i un, ni byddent wedi hyny yn ddim i diriondeb a thynerwch trugaredd Duw. Efe yw "Tad y trugareddau."

Mae yma ddefnydd cysur cryf: ni raid i'r truan a'r tlawd ddim digaloni—dyma diriondeb trugaredd Duw. Fy enaid, cymer afael ynddo! Gwaedda yn dy gyfyngder, "Brysia, rhagflaened dy dostur drugareddau fi!"

*Dyma lle mae helaethrwydd ei drugaredd yn dod i'r golwg.* Nid ydym yn cael golwg iawn ar iachawdwriaeth Duw, os nad ydyw yn ein dwyn i ryfeddu cyfoeth ei ras a'i drugaredd. Mangre afonydd a ffrydiau llydain trugaredd a welir ymhob man yn ein byd ni; ond dyma lle y mae yn chwyddo yn ddyfroedd nofiadwy. Sefwch ac edrychwch ar drugaredd yn nhrefn y cadw; y mae yn fôr diderfyn; "Y rhwyflong nid ä drwyddo, a'r llong odidog nid ä drosto."

Dyma lle cafodd trugaredd ddigon o le i ddadblygu ei hun. Gorweddai yn blygion cyn hyn; ond y mae wedi ei lledu i'w chyflawn faint yn nhrefn y cadw. Dyma lle y

cafodd yr Hollgyfoethog fantais i ddangos ei olud. Agorwyd hen goffrau oedd yn *mank* trugaredd. Dadguddiwyd mwy ar ei gyfoeth yma nag mewn dim arall erioed. Mae y Duwdod yn myned i fwy o draul i adeiladu teml trugaredd nag un adeilad arall o'i eiddo. Y mae meini y deml hon wedi eu prynu, "nid â phethau llygredig, megys arian neu aur; eithr â gwerthfawr waed Crist." Ond pan y cwblhëir yr adeilad, fe'i boddlonir ynddi er cymaint y draul; canys "Pan adeilado yr Arglwydd Sïon, y gwelir Ef yn ei ogoniant." Mae mawredd a chyfoeth trugaredd yn nhrefn iachawdwriaeth yn cael ei godi yn uchel yn yr Ysgrythyrau sanctaidd: "Eithr Duw, yr Hwn sydd gyfoethog o drugaredd, o herwydd ei fawr gariad trwy yr hwn y carodd Efe ni"—"anchwiliadwy olud"—"ei fawr drugaredd"—"rhagorol olud," &c. Y mae iaith fel pe byddai yn cael ei dyhyspyddu o eiriau wrth geisio dangos maint ei drugaredd yn iachawdwriaeth dynion.

Gall y pechadur penaf anturio ymlaen; dyma ddigon i ddiwallu ei anghen. Gall, a gwna, Duw gyflawni yr holl raid o'r golud sydd ganddo mewn gogoniant.

*Os mynwn olwg ar gydgrynöad o drugaredd yn nhrefn iachawdwriaeth, yn ein Harglwydd Iesu Grist y ceir hyny.* Yr arddangosiad cyflawnaf a pherffeithiaf o drugaredd, hyd yn nôd yn nhrefn y cadw, sydd yn Nhywysog iachawdwriaeth. Yr oedd trugaredd, hyd yn nôd yn nhrefn fawr y cadw, tra y parhâi tymmor "cysgod y pethau daionus," fel â gorchudd ar ei gwyneb. Nid oedd i'w gweled yn eglur iawn. Ond pan ymddangosodd y Sylwedd, dilëwyd y gorchudd; gallwn edrych ar drugaredd âg wyneb agored. Yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, ceir golwg ar holl ragoriaethau trugaredd wedi eu crynhoi yn Iesu Grist. Y mae holl linellau trefn iachawdwriaeth fel yn cydgyfarfod ynddo Ef fel eu canolbwynt mawr. Cwblhâu ei drugaredd â'n tadau yr oedd Duw, pan yn anfon ei Fab i'n byd ni. Y mae pob trugaredd yn cael eu cynnwys yn gryno yn y dyn Crist Iesu. "Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tuag atom ni, oblegid danfon o Dduw ei uniganedig Fab i'r byd, fel y byddem fyw trwyddo Ef. Yn hyn y mae cariad." Os mynwn weled yr amlygiad llwyraf, "*yn hyn y mae.*"

Yn wir, mae holl deml iachawdwriaeth y fath, y mae yn hyfryd i ni wahodd ein gilydd i edrych arni: tŷ ein cyf-

arfod. Fy enaid, gwel yr addurniadau, sylwa ar adeilad ei mur, edrych ar ei phorth Prydferth. Tyred i mewn, gwel yr allor o aur, edrych ar y bwrdd wedi ei wisgo âg aur, sylwa ar yr holl ddodrefn o aur, edrych ar y lleni; wele y parwydydd, y tô, a'r llawr, wedi eu gwisgo âg aur. Onid ydyw yn brydferth? yn ogoneddus? yn deilwng o'r Unig Ddoeth? Ond ymlaen y mae y dirgelwch; ymlaen hwnt i'r wahanlèn y mae y Gogoniant; yno y mae yr hyn y chwennychai llawer o'r prophwydi eu canfod. Tyred ymlaen, wele y llèn wedi ei rhwygo; wele y cerubiaid, wele yr arch, dyma y cauad aur—y drugareddfa; o tani y mae y llechau yn dawel, y gyfraith *wedi* ei mawrhâu, a'i gwneuthur yn anrhydeddus. Wele y *Shecinah*—nage, nid arwydd yw—wele yr Anweledig—ei wir ddelw. Wele berson y Tad—ei "*wir lun.*" Dyma yr "Emmanuel: Duw gyda ni." Crist ein bywyd yw. "Yn yr Hwn y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig;" ïe, "ynddo Ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol."

*Gan fod trugaredd Duw y fath, y mae y calondid mwyaf i ni ddyfod ato.* Meddyliwch lawer am ei drugaredd; nid oes dim yn fwy effeithiol i ennill y galon gyndyn. Byddai caredigrwydd Dafydd yn arbed Saul, pan wedi cael cyfleusdra i gymeryd ei einioes oddiarno, yn cael effaith ddwys ar Saul; byddai yn dyrchafu ei lef ac yn wylo. Myned â'i ddwfrlestr un tro; tori cŵr ei fantell dro arall. Pa sawl gwaith y mae yr Arglwydd wedi cael cyfleusdra i gymeryd ein heinioes ymaith? ond yn lle hyny, dy daflu di i wely cystudd am ychydig wythnosau—"tòri cŵr y fantell." Myned â'th blentyn, neu dy briod o'th fynwes, neu dy amddifadu o ryw fwyniant—cymeryd y dwfrlestr ymaith, yn lle dy ladd. O na byddai trugaredd yr Arglwydd, mewn amgylchiadau fel hyn, yn ein dwyn i ymostwng ger ei fron!

Dylai ystyriaeth o drugaredd Duw mewn pethau llai, roi grym i ni ddysgwyl a deisyf pethau mwy. Y mae yn dda i'w grëaduriaid oll, ai oni fydd felly i ti? Y mae yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, oni lewyrcha Efe ei wyneb arnat ti? Y mae trugaredd Duw yn cael ei hamlygu ymhob peth, i'n gwahodd a'n cymhell ato. Iaith pob cymwynas ydyw, "Tyred ato." Nis gellir dangos

mor anfeidrol barod yw Duw i drugarhâu a thosturio: "tosturiol iawn yw yr Arglwydd, a thrugarog." Pan y gofynai Simon Pedr, pa sawl gwaith y maddeuai i frawd a fyddai wedi pechu yn ei erbyn, cafodd yn yr atebiad fod trugaredd faddeuol brawd at frawd i fod yn ddengwaith a thriugain fwy nag y tybiasai ef. Ond O! nid dengwaith a thriugain seithwaith y mae trugaredd faddeuol yr Anfeidrol yn cael ei hestyn; ond "fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear, felly uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, a'm meddyliau i na'ch meddyliau chwi, medd yr Arglwydd." Y mae yn maddeu er

"Syrthio ganwaith i'r un bai!"

*Mynwn wybodaeth brofiadol am drugaredd Duw yn maddeu ein hanwiredd ni.* Y mae clywed am ei drugaredd yn hyfryd a gwerthfawr; ond nid yw yn debyg i'r effaith a deimlir yn y wybodaeth brofiadol o'i drugaredd—"gwybodaeth iachawdwriaeth," yr hon y mae yn ei roddi i'w bobl "trwy faddeuant o'u pechodau." Effeithiodd clywed tystiolaeth y wraig ar wŷr Sichar; daethant o'r ddinas at y ffynnon. Ond yn y man, ni a'u clywn yn dywedyd wrth y wraig, "Nid ydym ni weithian yn credu oblegid dy ymadrodd di; canys ni a'i clywsom Ef ein hunain." Rhodded yr Arglwydd hyn i ni i gyd—*ei glywed Ef ein hunain* yn llefaru tangnefedd mewn maddeuant!

Enaid anwyl! y mae "trugaredd hefyd" yn eiddo'r Arglwydd. Na âd i neb na dim dy gadw yn ôl; tyred ato; gâd dy ffyrdd a'th feddyliau; dychwel ato; "Efe a gymer drugaredd" arnat, Efe a "arbed yn helaeth." Os edliwia Satan dy bechodau, os cyhudda y gydwybod, cofia yn wyneb y cwbl, "*trugaredd hefyd.*" Dos, fel gweision Benhadad gynt, â'r rhaffau am eu penau; dywed i ti glywed yn dy wlad son am "Geidwad Israel," mai trugarog a graslawn yw Efe. "Y mae trugaredd gyda'r Arglwydd, ac aml ymwared gydag Ef." Cymerai Jonah gynt hyny yn esgus tros ffoi i Tarsis: "Am y gwyddwn dy fod di yn Dduw graslawn a thrugarog." Y mae yr un peth yn peri i ni deimlo yn hyfryd i wahodd pechaduriaid ato: ni a wyddom fod "trugaredd hefyd" yn eiddo iddo.

Ond na fydded i'r ystyriaeth fod trugaredd yn eiddo yr Arglwydd effeithio felly ar neb, fel ag i beri iddynt fyned ymlaen yn eu ffyrdd drygionus, a dywedyd, 'Pob peth yn

dda; y mae trugaredd yn eiddo'r Arglwydd; heddwch fydd i mi; ni chosba efe â thân, fel y dywed rhai; oblegid y mae ei "drugaredd o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb."' Nid felly, enaid anwyl! Gŵyrdroi y gwirionedd i dy ddinystr yr ydwyt fel yna; canys "er hyny efe a dâl i bob dyn yn ol ei weithred." Ni ddïeuoga Efe yr anwir. "Duw yn ddiau a archolla ben ei elynion." Tro ato yn awr, Efe a'th dderbyn!

Blentyn Duw! cymer gysur. "Yr Arglwydd a gyflawna" â thi: y mae ei drugaredd yn dragywydd. Efe a dâl. Nid anghofia lafur dy gariad, a gwaith dy ffydd. Gelli godi dy ben, ac edrych yn ei wyneb, a dywedyd, "*Trugaredd hefyd sydd eiddot ti, O Arglwydd: canys ti a deli i bob dyn yn ol ei weithred.*"

# PREGETH XXIII.

## GWRTHDARAWIAD CALON PECHADUR I IESU GRIST.

### GAN Y PARCH. JOHN JONES, CASTELLNEWYDD YN EMLYN.

**"Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd."—Ioan v. 40.**

MAE syniadau dynion am yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist bob amser yn rhwym o gyfateb i'w syniadau am gwymp a thrueni dyn trwy bechod. Canys os ysgafn a dibwys yn eu golwg fydd y cwymp, felly hefyd y bydd yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist ar gyfer hyny; ond os ystyrir y cwymp ganddynt yn bwysig—ïe yn beth â chanlyniadau tragywyddol iddynt hwy ynddo, ac yn beth nas gallant hwy eu gwaredu eu hunain o'i afael—ystyrir yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist yn bwysig a gwerthfawr ar gyfer hyny. Fel pe y gelwid am feddyg at ŵr claf. Os, ar ol chwilio i mewn i ansawdd afiechyd neu ddolur y claf, y barna y meddyg mai dibwys yw ei afiechyd, nad marwol yw y dolur sydd arno, ond ei fod yn gyfryw ag a wna wella o hono ei hun yn fuan,—dan yr amgylchiadau hyny, rhyw foddion meddyginiaethol dibwys a rydd i'r claf; ond os, ar ol gwneuthur ymchwiliad manwl i ansawdd yr afiechyd, y caiff ar ddeall fod ei anhwyldeb yn un peryglus, ac yn sicr o fod yn farwol oni chymhwysir rhyw feddyginiaeth effeithiol ato yn fuan,—dan yr amgylchiadau hyny rhydd y meddyg y driniaeth feddyginiaethol grefaf a mwyaf effeithiol, yn ol ei farn ef, a ellid gael er ei wella. Felly, fel y crybwyllwyd, mae syniadau dynion am yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist, a'u hymddygiadau ati, yn sicr o gyfateb i'w syniadau am gwymp a thrueni dyn trwy bechod.

Mae y Bibl yn dangos fod trueni dyn trwy bechod yn gynnwysedig mewn dau beth,—sef ei euogrwydd a'i halogrwydd. Dau air bychan ydyw y rhai hyn—nid oes ond ychydig o lythyrenau yn myned i'w cyfansoddi; ond y mae y fath drueni ac echryslonrwydd yn gynnwysedig

ynddynt, fel ag y bydd tragywyddoldeb yn rhy fyr i'w dadguddio yn drwyadl. Mae euogrwydd dyn yn ei amddifadu ef am byth, o'i ran ei hun, o bob hawl i'r nefoedd; ac y mae ei halogrwydd, drachefn, yn ei anghymhwyso a'i anaddasu i fyw yn y nefoedd yn gysurus, pe caffai fyned iddi. Mae ei euogrwydd yn ei rwymo am byth i fod yn ngafael pob trueni a gwae, fel cosbedigaeth gyfiawn am ei fai; ac y mae ei halogrwydd, eilwaith, yn ei yru i wrthod yr unig feddyginiaeth a drefnodd Duw erioed, ac a drefna efe byth, er gwaredu dyn o afael y trueni y mae wedi myned iddo.

Dyma ni yn awr wedi cael gafael ar egwyddor ein testun,—sef, fod llygredigaeth calon dyn yn ei yru i wrthod yr unig feddyginiaeth a drefnodd Duw er ei waredu. "Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd."

Mae yr Arglwydd Iesu Grist yn Waredwr pechaduriaid mewn tri o gymeriadau, neu mewn tair o swyddau. Mae wedi ymgymeryd â'u gwaredu o afael eu hanwybodaeth, fel y mae yn Brophwyd; o afael euogrwydd eu pechodau, fel y mae yn Offeiriad; ac o afael arglwyddiaeth eu pechodau, fel y mae yn Frenin. A gwaith Iesu Grist ynddynt, arnynt, a throstynt, yn y tri chymeriad hyn, fydd iachawdwriaeth dragywyddol yr holl rai hyny a ufuddhânt iddo. Fy nghyfeillion! fe fydd tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo ar ddeheulaw y Barnwr yn y bore mawr a ddaw; a gobeithiaf ar Dduw y byddwch chwi a minnau yn y nifer ddedwydd a gogoneddus hono; canys tyrfa druenus, ac annedwydd byth, fydd ar law aswy y Barnwr y dydd hwnw. Ond cofiwn mai rhai a fyddant oll ag a fydd wedi ymostwng i ddysgeidiaeth Crist fel Prophwyd, i gyfiawnder Crist fel Offeiriad, ac i lywodraeth Crist fel Brenin. Ac y mae yn rhaid ei dderbyn Ef yn Waredwr cyflawn yn ei dair swydd, neu fod hebddo; canys nis gellir ei ranu Ef. Nid oes modd ei dderbyn Ef, ac ymostwng iddo yn y naill swydd, heb ymostwng iddo yn y lleill hefyd. Eithr y mae gwrthdarawiad yn nghalon pechadur i'r Arglwydd Iesu yn y tri chymeriad hyn. "Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd."

I. MAE GWRTHDARAWIAD YN NGHALON PECHADUR I DDYSGEIDIAETH CRIST FEL PROPHWYD.

II. MAE GWRTHDARAWIAD YN NGHALON PECHADUR I GYFIAWNDER CRIST FEL OFFEIRIAD.

III. MAE GWRTHDARAWIAD YN NGHALON PECHADUR I LYWODRAETH CRIST FEL BRENIN.

I. MAE GWRTHDARAWIAD YN NGHALON PECHADUR I DDYSGEIDIAETH CRIST FEL PROPHWYD.

Mae yn rhaid i bawb a roddant eu hunain i'r Arglwydd Iesu, i gael eu gwaredu ganddo, ymostwng i'w ddysgeidiaeth Ef. "Dy holl feibion hefyd fyddant wedi eu dysgu gan yr Arglwydd." "Eithr chwychwi, nid felly y dysgasoch Grist." "Gan ein dysgu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon." Y Bibl ydyw llyfr yr ysgol; a dysgu yr ysgoleigion i ddeall, caru, ac ymhyfrydu yn yr egwyddorion sydd ynddo, y mae y Prophwyd mawr hwn. Efe fel Prophwyd, trwy ei Ysbryd, a anrhegodd y byd â'r dadguddiad Dwyfol; ac Efe hefyd, yn yr un swydd, sydd yn dysgu pechaduriaid i'w ddeall.

Ond y mae gwrthwynebiad yn nghalon pechadur i'r egwyddorion a ddysgir yma. Iaith y galon yn awr, fel cynt, yw, "Cilia oddiwrthym; canys nid ydym yn chwenychu gwybod dy ffyrdd." Mae dau beth neillduol yn nysgeidiaeth yr Ysgrythyrau, ag sydd yn peri i galon pechadur ei gwrthwynebu a'i chasâu; sef, 1. Y dirgelwch sydd ynddi. Ac 2. Ei thuedd sanctaidd.

1. *Y dirgelwch sydd yn y ddysgeidiaeth.* Mae pawb sydd wedi darllen y Bibl yn bwyllog ac yn ystyriol, yn gweled fod ynddo ddirgelwch ag y maent yn ei addef. Mae ynddo rai pethau a fyddant yn ddirgelwch i bob dyn yn y byd hwn, ïe a fyddant yn ddirgelwch i feddyliau dynion ac angelion i dragywyddoldeb. Canys pe amgen, byddai raid barnu ar unwaith y gallai meidroldeb amgyffred anfeidroldeb; y gallai crëadur amser amgyffred yr Hwn sydd o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb.

*Mae gwirioneddau lawer yn y Bibl ag sydd, o anghenrheidrwydd, yn rhwym o fod yn ddirgelwch i ddyn.* Heb hyn, ni buasai yn cynnwys dadguddiad priodol, cyflawn, ac effeithiol i ddyn. Mae y Bibl yn llefaru am Dduw; ond ynfydrwydd o'r mwyaf ydyw meddwl y gall dyn, yr hwn sydd megys er doe, ac ni ŵyr beth a fydd yfory, amgyffred y Duw sydd o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb. Mae gweithredoedd Duw â dirgelwch mawr ynddynt i ddyn; canys y mae egwyddorion mawrion yn ngweithredoedd crëadigaeth, rhagluniaeth, a gras, yn gorwedd yn nghanol dir-

geledigaethau rhy ddyfnion i feddwl dyn eu canfod. Ac os ydyw gweithredoedd Duw â'r fath ddyfnderoedd o ddirgeledigaethau ynddynt, pa faint mwy felly y rhaid fod yr Hanfod anfeidrol a thragywyddol, yr Hwn a wnaeth y pethau hyn, ac sydd hefyd yn eu llywodraethu ac yn eu cynnal hwynt? "A elli di wrth chwilio gael gafael ar Dduw? a elli di gael yr Hollalluog i berffeithrwydd?" "Am yr Hollalluog, ni allwn ni mo'i gael ef."

Yr un modd traethir llawer yn y Bibl am ddyn: yn ei gysylltiad â Duw, ac yn ei gysylltiad â'i gyd-ddynion; dyn hefyd yn ei gysylltiad â'r byd hwn, ac yn ei gysylltiad â'r byd tragywyddol; dyn yn ei ystâd wreiddiol a pherffaith, yn ei ystâd bechadurus a thruenus, ac yn ei ystâd adferol trwy ras. Ond y mae yn cyfarfod â dirgelion mawrion ynddo ei hunan. Canys os try i edrych a sylwi ar ei gorff, efe a wêl ar unwaith ei fod yn nghanol dirgeledigaethau. Os try efe drachefn i sylwi ar ddeddfau ei feddwl, ynghyd a'r deddfau sydd yn cysylltu corff a meddwl â'u gilydd, efe a ganfydda ei fod yno yn nghanol dirgeledigaethau mwy fyth. Canys er mai yr enaid sydd yn synio, yn deall, ac yn amgyffred mewn dyn, eto mae yn gwybod mwy, fe allai, am natur a deddfau y "babell" y mae yn preswylio ynddi, sef y corff, nag y mae yn ei wybod am dano ei hun a'i ddeddfau. Gan hyny, nid rhyfedd i'r Salmydd ddywedyd mewn syndod, "Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed!"

Mae y Bibl hefyd yn crybwyll yn aml iawn am y byd tragywyddol, a'r sefyllfa ddyfodol sydd yn aros dynolryw. Ond y mae dyn yn cyfarfod â dirgelwch yma hefyd, canys y mae y byd hwnw yn llawn o ddirgelwch iddo. Os ydyw y byd hwn, yn yr hwn y mae dyn wedi cael ei fodolaeth ar y cyntaf, ac yn yr hwn yn unig y mae wedi preswylio hyd yma, yn cynnwys dirgeledigaethau rhy ddyfnion iddo, mae yn rhaid fod y byd a ddaw, yn yr hwn na phreswyliodd eto, a'r hwn sydd yn ddyeithr iddo ar bob golygiad, yn cynnwys dirgeledigaethau mwy iddo. "Canys nid amlygwyd eto beth a fyddwn."

Mae y Bibl, hefyd, yn traethu llawer am iachawdwriaeth dyn, a'r ffordd ryfedd a drefnwyd i'w waredu ef; ond y mae yn cyfarfod â dirgeledigaethau dyfnion yma hefyd. Fe ddichon mai peth i'w gredu yn unig, ac nid i'w amgyffred, ydyw prynedigaeth pechadur trwy

waed Crist. Gwir fod y dybenion sydd yn cael eu hateb, a'r effeithiau sydd yn deilliaw oddiwrth drefn fawr yr iachawdwriaeth, i fesur helaeth yn eglur ac yn amlwg i ddyn; ond y mae llawer o'r cwestiynau sydd yn codi yn y meddwl wrth ddarllen am y drefn hon, yn cynnwys dirgeledigaethau rhy ddyfnion iddo allu eu hamgyffred; o leiaf tra byddo yn y byd hwn. Mae y "paham" a'r "pa fodd" yn ddirgelwch iddo. Mae yn rhaid fod dirgelwch annirnadwy—dirgelwch nas gall dyn ddyfod ato, yn y ffaith hynod a adroddir yn syml yn y Bibl, sef ddarfod i Fab Duw farw ar y groes dros bechod y byd. Mae dirgelwch yn nghyfansoddiad Person Crist, yn nyfnder ei ddarostyngiad, yn ei gyfryngdod a'i farwolaeth, yn nghymhwysiad bendithion yr iachawdwriaeth at ei gwrthddrychau, ac yn eu sancteiddiad a'u gogoneddiad. "Ac yn ddiddadl mawr yw dirgelwch duwioldeb; Duw a ymddangosodd yn y cnawd!"

"Pan bwy 'n rhyfeddu unpeth,
Peth arall ddaw i'm bryd;
O! iachawdwriaeth rasol!
Rhyfeddol wyt i gyd!"

Hefyd, heblaw fod llawer o'r gwirioneddau sydd yn y Bibl yn ddyfnion, mae meddwl dyn yn wan iawn yn y byd hwn, ac yn rhy eiddil i'w hamgyffred. Mae yn amlwg, wrth ddarllen yr Ysgrythyrau, nad ydyw y meddwl dynol mor gryf a nerthol yn awr ag y bydd yn y byd tragywyddol, a'r sefyllfa ddyfodol sydd yn ei aros. Yn ei flodau ac yn ei flagur y mae yma, ar y goreu; yn y byd a ddaw y bydd i'w weled yn ei lawn dŵf a'i addfedrwydd. Yn ei fabandod y mae yma; yn y byd tragywyddol y bydd yn ei gyflawn oed. "Canys gweled yr ydym yr awr hon trwy ddrych, mewn dammeg; ond yna, wyneb yn wyneb: yn awr yr adwaen o ran; ond yna yr adnabyddaf megys y'm hadwaenir."

Mae Duw yn ymddwyn tuag at ddynion yn y byd hwn, yn debyg i'r modd yr ymddyga tad weithiau tuag at ei blentyn. Mae y plentyn, fe allai, â rhyw duedd ymchwilgar ynddo. Y mae awydd mawr ynddo am wybodaeth; mae yn aflonydd ei feddwl o eisieu cael gwybod y rheswm am bob peth. Mae yn hoff iawn o'r cwestiynau "paham" a "pha fodd." Y mae yn blino ei dad â

chwestiynau i'r perwyl hwnw. O'r diwedd, y mae ei dad yn ei ateb, gan ddywedyd, 'Y mae yn dda genyf, fy mab, ddeall dy fod o duedd ymchwilgar. Yr ydwyf yn falch o'r duedd yna sydd ynot, ac ni fynwn mewn un modd ddywedyd na gwneuthur dim a dueddai i'w dinystrio; ac nid oes un anewyllysgarwch ynof chwaith i ateb y cwestiynau yr ydwyt yn eu gofyn, hyd y gallaf. Ond goddef i mi dy hysbysu, nad ydyw dy ddeall na dy ddirnadaeth yn gyfryw, ar hyn o bryd, ag y gelli amgyffred y pethau hyn. Byddai ceisio ateb dy gwestiynau yn wastraff ar amser, ac yn wastraff ar eiriau. Ond mae yn fy mryd dy anfon i'r ysgol, lle y caiff dy feddwl bob mantais ag sydd ddichonadwy. Caiff yno ddyfod i gyfarfyddiad â meddyliau eraill, a chaiff bob mantais i gael ei ddadblygu a'i gryfhâu. Yna dysgwyliaf y byddi yn alluog i ymddyddan am y pethau y soni am danynt yn awr, ac y gelli fy neall wrth geisio ateb paham a pha fodd y mae pethau fel y maent.' Felly mae yr Arglwydd yn gwneuthur â dynion. Y mae yn eu hateb, gan ddywedyd, "Y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd eich Duw, a'r pethau amlwg a roddwyd i chwi ac i'ch plant." Dirgeledigaethau, am fod eich meddyliau yn rhy wan yn y byd hwn i dreiddio i mewn i ddyfnderoedd y gwirioneddau hyn. Ond yno yr adnabyddwch megys y'ch hadwaenir.

*Mae y Duw mawr yn dewis cuddio llawer o bethau oddiwrth ddyn yn y fuchedd hon, er mwyn ei ddysgu ef i fyw trwy ffydd, ac er mwyn darostwng ei falchder.* Mae "byw trwy ffydd"—mae credu gwirioneddau mawrion y Bibl, er nas gellir eu hamgyffred hwynt, yn dwyn gogoniant i Dduw, ac yn tynu bendithion mawrion a gwerthfawr ar ben y dyn ei hun. Mae yn debyg hefyd na buasai derfyn ar falchder dyn pe gallasai amgyffred y Duw mawr a'i weithredoedd—pe gallasai amgyffred holl wirioneddau y dadguddiad Dwyfol. Mae dyn yn ddigon parod yn awr i ddiystyru a dirmygu Duw, er ei fod yn cael ei orfodi i addef nad ydyw yn gallu ei amgyffred. Y mae yn rhy barod i ddirmygu awdurdod y dadguddiad Dwyfol, er ei fod yn cynnwys gwirioneddau tu hwnt i'w ddirnadaeth. Ond pe buasai yn gallu amgyffred Duw, ac yn gallu amgyffred holl wirioneddau y dadguddiad Dwyfol, diammheu y buasai ei wrthryfel a'i ddiystyrwch o honynt

yn llawer mwy. Ni buasai un effaith er daioni yn cael ei gwneuthur arno trwy fygythion, nac addewidion, na thystiolaethau y dadguddiad Dwyfol.

Ond, fel y dywedwyd eisoes, mae dirgelwch y ddysgeidiaeth yn achos o dramgwydd i galon dyn llygredig. Paham y mae felly sydd yn anhawdd rhoddi cyfrif am dano, os nad esgus ydyw dros elyniaeth y galon tuag at ddysgeidiaeth bur a sanctaidd yr Ysgrythyrau. Mae yn ffaith nad ydyw dyn yn tramgwyddo er cyfarfod â dirgeledigaethau mewn natur. Pa reswm, ynte, sydd i'w roddi am fod dyn yn tramgwyddo wrth gyfarfod â dirgeledigaethau yn y Bibl, ond fod gelyniaeth yn y galon tuag atynt?

2. Mae calon lygredig dyn yn gwrthdaro yn erbyn dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau *o herwydd ei thuedd sanctaidd.* Mae tuedd uniongyrchol yn yr Ysgrythyrau i feithrin sancteiddrwydd. Pa le bynag y mae dynion yn cael rhyddid ac annogaethau i bechu, nid ydynt yn eu cael yma; canys y mae pob tu dalen, pennod, ac adnod, —ïe pob gair, sill, llythyren, ac iota, yn y llyfr ardderchog hwn, yn tueddu i gondemnio pob math o halogedigaeth, ac i feithrin sancteiddrwydd a glendid moesol. Mae tuedd yn ei hanesyddiaeth, ei brophwydoliaethau, ei addewidion, ei fygythion, ei gynghorion, a'r athrawiaeth fawr sydd ynddo, i fod yn angeu i lygredigaeth, ac yn feithrinfa ac yn fagwraeth i sancteiddrwydd a rhinwedd.

Pa athrawiaeth bynag a ddysgir ynddo, mae ei thuedd at sancteiddrwydd yn ddïeithriad. Os am Dduw y sonir, y casgliad a dynir ydyw, "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." Os am etholedigaeth gras y sonir, gofalir dyweyd mai ein hethol a wnaed, fel y byddem sanctaidd. Os am ein prynedigaeth, trwy ei waed Ef, y sonir, gofalir dyweyd mai ein prynu a wnaed oddiwrth ein hofer ymarweddiad. Ac os am faddeuant llawn a rhad o'n haml bechodau y crybwyllir, gofalir hysbysu hefyd mai maddeuant ydyw sydd yn cynnyrchu ofn Duw yn y galon —"maddeuant fel y'th ofner." Mae y darluniad a roddir ynddo o'r ddeddf, yn ei rheolau a'i bygythion; o'r efengyl, a'i newyddion da o lawenydd mawr; o orchwyliaethau Duw tuag at y byd o oes i oes; mae yr hanes sydd genym ynddo am ddyoddefiadau poenus yr Arglwydd Iesu Grist yn ngardd Gethsemane, ac ar fynydd Calfaria; yr

awgrymiadau a roddir ynddo am y nefoedd a'i dedwyddwch, ac am uffern a'i thrueni,—oll yn llefaru fel taranau cryfion, gan gondemnio pechod yn ddiarbed, ac annog yn daer i sancteiddrwydd a rhinwedd.

Ac un o brif ragoriaethau y Bibl ydyw ei duedd sanctaidd. Pe collai hyn, dyna un o'i ragoriaethau mwyaf wedi diflanu. Os gofynir beth yw yr achos fod dynion yn tramgwyddo wrth sancteiddrwydd yr Ysgrythyrau, gellir ateb, mai yr un achos ag sydd yn peri i'r lleidr gasâu y goleuni. Nid oes dim yn gasach gan y lleidr, a gweithredwr drygioni, na'r goleuni—goleuni haul neu oleuni gwirionedd a thystiolaeth—am ei fod yn dangos ac yn argyhoeddi ei weithredoedd drygionus ef, y rhai y mae efe yn eu caru. Felly y mae calon dyn. Mae hithau yn caru llygredigaeth; ac fel y mae goleuni naturiol yn dangos budreddi yn ei ffieidd-dra a'i adgasrwydd, felly mae yr Ysgrythyrau yn dangos, yn egluro, ac yn argyhoeddi gweithredoedd pechadurus dynion, ac am hyny mae y galon yn eu casâu. Mae dyn pechadurus yn casâu sancteiddrwydd pa le bynag y canfydda ef. Os gwel ef sancteiddrwydd yn Nuw, efe a'i casâ yno; ac os gwel ef sancteiddrwydd yn nghrëadur Duw, efe a'i casâ yno hefyd.

Mae calon dyn yn llawn o elyniaeth tuag at Dduw; a'r prif achos o hyn yw, y sancteiddrwydd dysglaer ac anfeidrol sydd ynddo. Darluniad tarawiadol iawn o ddyn a geir yn y geiriau hyny, "yn gas ganddynt Dduw." Mae yr ymadrodd hwn yn cynnwys darluniad eglur iawn o dueddfryd a gweithrediadau calon dyn, ymhob oes ac ymhob gwlad. Mae y gelyniaeth hwn at Dduw yn ymddangos mewn gwahanol ffyrdd, yn wyneb gwahanol amgylchiadau. Mae yn ymddangos, weithiau, yn ngwaith y galon yn ymdrechu gollwng Duw dros gof. Yn debyg i ddau gymydog a fyddo mewn gelyniaeth y naill tuag at y llall,—mae y naill yn gwneyd ymdrech i anghofio y llall, trwy ochel pob cyfleusdra i gyfarfod â'u gilydd, a thrwy alltudio yn y fan o'u meddyliau bob meddwl am eu gilydd, a hyny o herwydd yr elyniaeth sydd rhyngddynt. Bryd arall, mae yr elyniaeth hon yn ymddangos mewn diystyrwch o ragluniaeth Duw ar y byd. Bryd arall, mae yn ymddangos gyda'r fath ryfyg ac ëofndra digywilydd, nes gyru ambell un i wadu Duw yn gyhoeddus, gan

ddywedyd, "Nid oes un Duw." Ond yn aml iawn, y mae yn ymddangos yn ngwaith dyn yn dymuno na byddai yr un Duw. Gwir fod Duw yn anfeidrol ddymunol a hawddgar ynddo ac o hono ei hun, canys "Duw cariad yw;" ac am hyny y mae pob crëadur sanctaidd trwy y grëadigaeth yn ei ddymuno, yn ei hoffi, ac yn ei addoli, gan ddywedyd yn ngeiriau Paul, neu eu cyffelyb, "Ac i'r Brenin tragywyddol, anfarwol, anweledig; i'r Duw unig ddoeth, y byddo anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd!" Ond y mae y galon bechadurus yn ei gasâu, a hyny yn benaf o herwydd ei sancteiddrwydd. Nid ydyw dynion, mewn un oes o'r byd, wedi dangos rhyw lawer o elyniaeth at Dduw ar gyfrif ei briodoliaethau naturiol. Nid ydynt erioed wedi dangos rhyw lawer o elyniaeth ato o herwydd ei fod yn dragywyddol, yn anghyfnewidiol, yn hollbresennol, ac yn hollalluog. Na: fe deimla hyd yn nôd dyn llygredig ryw fath o hoffder a hyfrydwch yn Nuw, ond iddo beidio bod yn Dduw cyfiawn a sanctaidd, ac felly bod dan yr anghenrheidrwydd o gosbi ei bechod. Golwg ar sancteiddrwydd Duw a barodd i'r rhagrithwyr hyny yn amser y prophwyd Esaiah ofni a dywedyd, "Pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda y llosgfëydd tragywyddol?"

Dangosodd y byd elyniaeth mawr at Iesu Grist pan fu ynddo, a'r prif achos o hyny oedd y sancteiddrwydd dysglaer ac amlwg oedd ynddo Ef. Yr oedd y rhinweddau oedd i'w gweled yn ei fywyd, ei ymddyddanion, a'i bregethau, yn condemnio rhagrith, twyll, a phechodau yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, fel ag yr ydoedd yn wrthddrych casineb ac adgasrwydd ei gydoeswyr; ïe, yr oedd ei burdeb Ef yn dangos eu hanmhuredd a'u halogedigaeth hwy i'r fath raddau, fel ag yr oedd ei bresennoldeb yn faich rhy drwm iddynt i'w ddwyn; ac o'r diwedd mynasant ei dori Ef o dir y rhai byw yn anamserol!

Mae y byd wedi dangos casineb mawr at y saint ymhob oes hefyd, a'r prif achos o hyn ydyw y sancteiddrwydd y maent yn ei feddu. A phe codid eglwys Dduw yn ein hoes ni i feddu ar fwy o sancteiddrwydd, i arddangos mwy o ysbryd Crist, i ymdrechu mwy yn erbyn pechod, hi a gai ei chasâu yn fwy gan y byd.

Yr un modd, mae calon dyn ymhob oes yn casâu yr Ysgrythyrau a'u dysgeidiaeth, a'r prif achos o hyn ydyw y

sancteiddrwydd y maent yn gefnogi, a'r halogedigaeth y maent yn gondemnio. Nid oes un llyfr ar y ddaear ag sydd wedi gwneyd cymaint o les i'r byd a'r Bibl. Mae wedi gwneuthur lles annhraethol i fyrddiynau maith o ddynion o oes i oes; mae wedi gwneuthur lles i filoedd lawer o deuluoedd; mae wedi dyrchafu llawer ar foesau y byd; y mae wedi tyneru ei lywodraethau gwladol; y mae wedi dyrchafu gwahanol ddosbarthiadau o ddynion yn uwch mewn cymdeithas; mae wedi gwneuthur ei ôl er gwell, i ryw raddau, ar bob gwlad lle y bu. Nid oes ychwaith un llyfr ar y ddaear ag y gall y byd ddysgwyl eto gymaint o les a daioni trwyddo a'r Bibl. Pan y bydd egwyddorion y llyfr sanctaidd hwn wedi nawseiddio trigolion y byd yn gyffredinol, bydd holl freninoedd y ddaear yn gofalu cymaint am lesâd a daioni eu deiliaid ag am eu llesâd eu hunain; bydd y trethwyr yn gyfiawn, a bydd y deiliaid ymhob man yn ufuddhâu i'w llywodraethwyr. Ië, dyma y pryd y troir y cleddyfau yn sychau, a'r gwaewffyn yn bladuriau, ac na ddysgant ryfel mwyach. Dyma y pryd hefyd y bydd cyfiawnder, heddwch, a thangnefedd yn teyrnasu ar y ddaear, a "sancteiddrwydd i'r Arglwydd" megys yn argraffedig ar ffrwynau y meirch. Ond eto, er fod y byd wedi derbyn y fath ddaioni trwy ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau, ac er y gellir dysgwyl eto ddaioni mwy trwyddynt, mae yn hynod, erbyn yr ystyriom, nad oes un llyfr ar y ddaear ag y mae y byd wedi dangos cymaint o elyniaeth tuag ato a'r Bibl. Mae wedi chwilio am resymau mewn môr a mynydd, mewn daear ac awyr, i dreio dangos nad ydyw yn Ddwyfol o ran ei darddiad. Mae wedi gwneyd defnydd o ddysgeidiaeth yr oesau, ac o bob darganfyddiad newydd mewn celfyddyd, i'w wrthwynebu. Ond mae yn dda genyf grybwyll yma, fod yr hen lyfr wedi dal ei brofi, ac wedi dyfod allan o bob prawf yn fuddugoliaethus—ïe mor fuddugoliaethus, fel ag y mae yr arfau a ddefnyddiwyd i'w wrthwynebu bob amser wedi troi i ymladd o'i blaid. Gelli di, bechadur, fentro dy fywyd ar ei dystiolaethau; y mae wedi dal ei brofi. Gelli fentro pwyso arno yn afon angeu, ti a'i teimli fel creigiau cedyrn dan dy enaid yno!

II. Mae gelyniaeth yn nghalon pechadur at gyfiawnder Crist fel Offeiriad.

Mae yr Ysgrythyrau yn dangos yn eglur ddarfod i'r

Arglwydd Iesu Grist, trwy ei fywyd ar y ddaear, a thrwy ei farwolaeth boenus ar y groes, offrymu ei hun yn ddifai i Dduw, nes gwneyd iawn am bechodau dynion; fel trwy yr Aberth hwn y gall Duw, heb wneyd cam â'i briodoliaethau, ei gyfraith, a'i lywodraeth, faddeu i'r pechadur gwaethaf ar y ddaear.Ië, mae gan y Duw mawr fodd trwy y cyfiawnder hwn, i godi dyn i ystâd o gymeradwyaeth o ran ei berson, ac edrych arno yn gyfiawn byth. "Yr Hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed Ef, i ddangos ei gyfiawnder Ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddyoddefgarwch Duw; i ddangos ei gyfiawnder Ef y pryd hwn, fel y byddai Efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu."

Ond ar ei delerau neillduol ei hun y mae Duw yn maddeu; ac y mae yn rhaid i bawb, a gaffo faddeuant, ymostwng i'r telerau hyn. Mae yn rhaid dwyn y pechadur i gredu nad oes dim a all efe wneuthur, mewn ffordd o ufudd-dod i gyfraith Duw, a all deilyngu maddeuant, ac a all fod yn ddefnydd y cyfiawnder â pha un y cyfiawnhëir ef. Mae yn rhaid iddo hefyd weled a barnu, mai trwy aberth ac iawn Crist yn unig y mae i gael maddeuant, ac mai trwy gyfiawnder Crist yn unig y mae i gael ei gyfiawnhâu. Ac y mae yn rhaid ei ddwyn i gymeradwyo y drefn hon, ac ymorphwys arni yn unig am iachawdwriaeth. "Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist. Ië, yn ddiammheu, yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd: er mwyn yr Hwn y'm colledwyd ymhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist, ac y'm ceir ynddo Ef, heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd." Ond mae gwrthdarawiad yn nghalon pechadur i drefn gras yn hyn. Mae y galon yn rhy falch i ymostwng i gyfiawnder Crist. Mae yn rhy hunanol i ymwrthod â'i gyfiawnder ei hunan fel sail ei gymeradwyaeth, a derbyn cyfiawnder un arall. "Canys hwynt-hwy, heb wybod cyfiawnder Duw, ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngasant i gyfiawnder Duw."

III. Mae gelyniaeth yn nghalon pechadur i lywodraeth Crist fel Brenin.

Mae iachawdwriaeth Crist yn gwaredu ei gwrthddrych-

au oddiwrth lywodraeth ac arglwyddiaeth eu pechodau: "Oblegid Efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau." A'r egwyddorion a ddysgir yn ysgol Crist fel Prophwyd, ydyw egwyddorion a rheolau ei deyrnas Ef fel Brenin; ac y mae yn rhaid i bawb o'i ddeiliaid Ef ymostwng iddynt, a chymeryd eu llywodraethu ganddynt. Mae Efe yn gofyn, gan bawb o'i ddeiliaid, i ymwrthod â llywodraeth pechod a diafol yn hollol a thragywyddol. Ac er nad ydyw pechod yn cael ei ddifodi ynddynt trwy hyn, eto y mae yn cael ei ddiorseddu; canys nid arglwyddiaetha pechod arnynt mwyach. Mae yn gofyn hefyd, ar fod holl ddeiliaid ei deyrnas Ef yn ymostwng i reolau ei gyfraith, fel y maent yn cael eu hamlygu yn y Bibl. Mae yr ufudd-dod hwn i fod yn ufudd-dod ewyllysgar. "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth." "Eithr ufuddhâu o honoch o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i chwi." Mae yr ufudd-dod hwn hefyd i fod yn ufudd-dod i'r holl orchymynion. "Yna ni'm gwaradwyddid, pan edrychwn ar dy holl orchymynion."

Ond y mae gelyniaeth a gwrthwynebiad yn nghalon pechadur i'r llywodraeth hon. Ac er mai iau esmwyth yw iau Crist, eto mae dyn pechadurus yn ei chasâu. Iaith y galon yn awr sydd yr un âg iaith yr Iuddewon gynt, "Ni fynwn ni y dyn hwn i deyrnasu arnom." A dichon mai yr un rheswm sydd i'w roddi am elyniaeth y galon at lywodraeth Crist, ag sydd i'w roddi am ei gelyniaeth at ei ddysgeidiaeth, sef sancteiddrwydd ei rheolau, a phurdeb ei deddfau. Ond y canlyniad mawr, echryslawn, ac ofnadwy ydyw, fod y llygredigaeth hwn, ag sydd yn tori allan yn y gwahanol ffyrdd ag a nodwyd, yn gyru pechadur i wrthod Crist, a thrwy hyny gwrthod ei iachawdwriaeth ei hun a bywyd tragywyddol! "Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd!"

Casgliadau. Gwelwn yn

1. *Mai gwrthod pwysig ydyw gwrthod Crist, a pheidio dyfod ato.* Gwrthod Crist! pa beth ydyw? Gwrthod Duw yn Dad, Iesu yn Waredwr, yr Ysbryd yn Sancteiddydd, ac yn Breswylydd hyd byth. Gwrthod derbyn ei gyfiawnder Ef i'th wisgo, rhinweddau ei waed Ef i'th olchi a'th buro, a'i gymdeithas Ef i'th ddyddanu. Gwrthod ei dŷ Ef yn gartref ar y ddaear, cwmpeini y pererinion ar y ffordd, a'u cwmpeini am byth yn y byd a ddaw; ie

gwrthod y nefoedd a dewis uffern yn ei lle! Gwrthod Crist! pa beth ydyw? Mae yn cynnwys fod y pechadur yn dewis byw a marw yn ei bechod, a'i fod yn dirmygu y cariad mwyaf, ac yn diystyru y graslonrwydd rhyfeddaf, ac yn taflu dirmyg ar y benaf o ffyrdd Duw!Ië, pechod ydyw a wna y neb a fydd yn euog o hono yn hynod ymhlith pawb a fydd yn y trueni byth. Ac er y bydd y diafol yn sefyll ger bron brawdle Crist i gael ei farnu yn y dydd hwnw, ac er y profir ef yn euog o bechodau mawrion ac erchyll, ni chyhuddir ef byth o fod yn euog o wrthod Crist, a'r iachawdwriaeth sydd ynddo; canys ni chynnygiwyd hyn iddo ef erioed; ni chafodd efe gyfleusdra erioed i wneyd hyn, ac ni chaiff hyny byth chwaith. Ond bydd lliaws o ddynion y pryd hwnw yn sefyll yn y cymeriad o wrthod Crist a barnu yn aflan waed y cyfammod; ac o bawb, dyma y rhai dyfnaf yn y trueni byth!

2. *Nid yn hir iawn mwy y caiff neb o honom ni gyfleusdra i wneyd hyn.* Mae lliaws o ddynion, sydd erbyn hyn yn ysbrydion yn ngharchar, wedi cael cyfleusderau i ddirmygu Crist, trwy beidio credu ynddo, eto ni chânt y cyfleusdra lleiaf i wneyd hyny byth mwy. Ni chynnygir yr iachawdwriaeth sydd ynddo byth ond hyny iddynt hwy. A pha faint bynag o gyfleusderau a gawsom ni i wneuthur yr un peth ag a wnaethant hwy, ni chawn ninnau y cyfleusdra i wneuthur hyny yn hir iawn eto. Mae y Sabbathau amlaf wedi eu treulio, y pregethau lliosocaf wedi eu gwrando, ein dyddiau bron cael eu rhifo, a haul ein bywyd ar fachlud; ac os oes rhai o honom wedi bod yn euog drwy'n hoes o wrthod Crist, byddwn mewn amgylchiad yn fuan na chawn gyfleusdra i wneyd hyny mwy.

3. *Ond y mae genym yr hysbysrwydd i'w roddi, a'r newydd i'w gyhoeddi heddyw, fod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau.* Ac er y gall fod llawer o honom wedi bod yn euog o'i wrthod Ef dros eu bywyd, mae genyf i hysbysu i'r cyfryw, os derbyniant Ef yn awr, y maddeua Efe yr holl ddirmyg a'r anfri a daflasant arno drwy eu hoes. Efe a faddeua iddynt eu holl anwireddau, ac a'u derbyn i'w ffafr a'i gymeradwyaeth byth. Bechadur! ti a elli y mynyd hwn ddyfod i feddu hawl yn holl gyfoeth y byd tragywyddol; ac nid oes dim rhyngot a chyrhaedd hyny ond derbyn Crist, ac ymbriodi â'r Etifedd hwn! Amen.

# PREGETH XXIV.

## Y DRUGAREDDFA: NEU, IAWN CRIST.

## GAN Y PARCH. W. REES, LIVERPOOL.

**"Yr Hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed Ef, i ddangos ei gyfiawnder Ef," &c.—RHUFEINIAID iii. 25.**

GELWIR yr efengyl "dirgelwch Crist;" a Christ yw dirgelwch yr efengyl. "Ac yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb." Y benaf o holl osodiadau y Duwdod ydoedd gosod "*Hwn yn Iawn.*" "Efe a osododd holl derfynau y ddaear;" "Efe a sicrhäodd golofnau y ddaear, ac a osododd y byd arnynt hwy;" Efe a osododd ddeddf i'r môr, ac i'r dyfroedd—i'r dydd ac i'r nos, i'r tymmorau ac i'r elfenau—amserau rhagderfynedig a therfynau preswylfod pob dyn; Efe a osododd "ddiwrnod yn yr Hwn y barna Efe y byd trwy gyfiawnder; ac Efe "*a osododd Hwn yn Iawn;*" ac y mae yn y gosodiad hwn "ogoniant mwy ofnadwy." Chwi ddarllenwyr y dalenau hyn, trowch i edrych ar y weledigaeth fawr hon. Ond, cofiwch ddyosg eich esgidiau oddiam eich traed. Bwriwch ymaith oddiwrthych bob difrawder, anystyriaeth, ac ysgafnder meddwl; neu, na nesewch yma i hylldremu. Gwyliwch agosâu yma mewn ysbryd cnawdol, pleidiol, dadleuol, i chwilio am ddefnyddiau coegdaeru a sychddadleu: y mae y lle yn rhy sanctaidd, a'r gwrthddrych yn rhy gysegredig, goruchel, a phwysig, i gellwair âg ef felly. Deuwch yn wylaidd, eto gydag wyneb agored; yn ostyngedig, eto yn ffyddiog; fel pechaduriaid truenus, euog, andwyol, a cholledig, yn dyfod ar neges a mater bywyd ac iachawdwriaeth.

*Hwn a osododd Duw yn Iawn.* Pa beth a ddywed pregethwr gwael, tlawd, wrth y fath destun? Y mae ei destun yn fwy, yn anfeidrol fwy, nag ef; y mae yn myned yn ddim, yn ddiddym, yn llai na dim, ger bron y mawrhydi gogoneddus ac anfeidrol sydd yn ymddysgleirio yma.

Un ymadrodd yn cynnwys tystiolaeth fwy ei gwerth na holl fydoedd a chrëaduriaid Duw i gyd! Meddylddrych na allasai byth ddyfod i galon dyn nac angel i ddychymygu am dano heb i Dduw ei ddadguddio. Meddwl uwch na meddwl crëadur, "fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear." Meddwl Duw, a meddwl mwyaf a phenaf Duw ei hun, ydyw. Y mae ei holl osodiadau Ef yn nghrëad a llywodraethiad y byd, yn deilwng o hono, ac yn ogoniant iddo; ond y mae y meddwl hwn o *achubiaeth* y byd trwy Iawn yn *gymaint* ag Ef ei hunan; canys y mae yr Hwn a osododd efe yn Iawn yn Dduw—Duw wedi ymddangos yn y cnawd. Gan hyny, "mawr yw dirgelwch duwioldeb!"

Hwn *a osododd.* Nid oedd neb arall i'w gael, neb a wnaethai y tro, neb â digon o werth ac urddas ynddo i fod yn Iawn. Ond yr *oedd* Hwn yn gyfryw; a gosodwyd Hwn—*Hwn,* yn yr oll ag ydyw, ag sydd ganddo,—a Hwn ei hunan—nid oedd eisieu neb na dim gydag ef.

*Hwn a osododd* Duw. Nid oedd neb arall a allasai *osod* chwaith, neb â hawl ac awdurdod ganddo i osod a derbyn Iawn. *Duw*—Jehofah—y Tad—y Person cyntaf mewn trefn, swydd, a gwaith. Yr Achos cyntaf a gwreiddiol o bob peth,—Arfaethydd a Chynlluniwr pob peth,—Llywodraethwr a Barnwr pawb,—gogoniant yr hwn ydyw dyben uchaf pob bodolaeth; i'r hwn y perthyn yn swyddol amddiffyniad iawnderau yr orsedd a'r llywodraeth Ddwyfol; ac yn erbyn yr hwn y tarawai pob gwrthryfel a allasai dori allan, yn benaf.

*Hwn a osododd Duw yn Iawn.* Yn ei gynghor a'i gyfammod tragywyddol, yn y rhagwelediad o'r anobaith a'r dinystr a ruthrai ar y byd drwy bechod a gwrthryfel dyn. Fe'i gosododd o'i wir ewyllys, heb ddyled na rhwymau, i fod yn *Iawn,* yn adferiad, yn gyfodiad, i fyd wedi dirywio a syrthio. Fe'i gosododd mewn dadguddiad o hono *i'r* byd, drwy addewidion a chysgodau, yn ysgrythyrau y prophwydi sanctaidd, y rhai oedd o ddechreuad y byd yn dwyn tystiolaeth am dano. Fe'i gosododd, yn nghyflawnder yr amser, drwy ei anfon i'r byd, "wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf." Fe'i gosododd yn iawn, yn weithredol, ar y groes, pan y traddododd ef i angeu, y drylliodd ef, gan osod ei enaid yn aberth dros bechod. Gosododd ef yn yr efengyl, yn y cyhoeddiad

o hono i'r byd, i alw y byd yn ôl ato ei hun, yn fan cyfarfod.

IAWN. Dyna yr hyn y gosodwyd ef. Golyga iawn bleidiau mewn ymrafael—plaid wedi eael cael cam, sarhâd, a cholled, gan blaid arall. Iawn ydyw adferu yn ôl, unioni y cam, digollediad, dygiad y pleidiau yn un i gymmod, neu drefniad er cymmod. Y blaid a *wnaeth* y cam, ymysg dynion, sydd i wneyd iawn, i ddigolledu y blaid a niweidiwyd. Duw a dynion sydd yma. Dynion a wnaeth y cam, ond Duw a osododd ac a wnaeth yr Iawn. Duw a yspeiliwyd, a Duw sydd yn gwneyd y golled i fyny ar ei draul ei hunan. Yr oedd y peth uwchlaw gallu dynion, uwchlaw gwerth dynion ac angelion. Achos cyhoeddus, achos llywodraeth a chyfraith ydyw, ac nid achos personol a neillduol. Mewn achosion personol a neillduol, gall dynion fyned heibio i sarhâd a chamwri yn eu gilydd, os mynant; ond os bydd yn achos cyfraith a llywodraeth, y mae yn wahanol. Y mae genym y gyfraith, anrhydedd y llywodraeth, ac iawnderau yr holl ddeiliaid, yn gofyn cosbi y trosedd, os na ellir cael llwybr i ateb dybenion y gosb yn y llywodraeth. Achos fel hyn yw achos dyn. Drwg cyhoeddus yw pechod, gwrthryfel yn erbyn y llywodraeth. "Anghyfraith yw pechod;" a rhaid naill ai cosbi y troseddwr yn ol y gyfraith, neu diddymu y gyfraith; dianrhydeddu yr orsedd a'r llywodraeth, neu ynte gael *iawn*—peth a etyb holl ddybenion cosbedigaeth y troseddwyr yn ol ysbryd a manylrwydd y gyfraith.

Y mae hwna yn hen ddarnodiad neu ddesgrifiad o Iawn; ond nid oes eisieu ei newid. "Yr hen wirionedd yr hwn oedd genym o'r dechreuad, ac a fydd gyda ni yn dragywydd," ydyw; oblegid dyna yw iawn yn ei natur a'i ddybenion hefyd, mewn rhan.

Y mae Iawn Crist yn dal perthynas ddeublyg â ni—y mae yn osodiad *trosom* ni, ac hefyd *i* ni. Y mae yn osodiad *trosom* ni—tros ein cyflwr, ein hachos, ein pechodau, a'n personau ni. Traddodwyd Ef "trosom ni oll." "Yr Hwn nid adnabu bechod, a wnaeth Efe yn bechod trosom ni." "Yr Hwn a'i rhoddes ei hun trosom ni." "Efe yw yr Iawn tros ein pechodau ni; ac nid tros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd." "Ac Efe a fu farw tros bawb." Ond y mae hefyd *i* ni, "trwy ffydd yn ei waed Ef." Nid yn unig y mae a wnelo Ef â

ni, ond y mae a wnelom ninnau âg Ef. Y mae *i* ni i'w dderbyn, ei gymeradwyo, ei ddefnyddio, i bwyso arno, a hyderu ynddo am ein cyfiawnder, ein cymeradwyaeth, a'n bywyd. Ei osodiad *trosom* ni a'i gwnaeth ef yn beth *i* ni. Heb ei osod a'i drefnu trosom, ni allasai fod *i* ni; ac er ei osod a'i drefnu trosom, ni lesâ mo honom heb i ni weithredu ffydd ynddo. Trwy ffydd ynddo, trwy ei dderbyn a'i ddefnyddio yn ol dybenion ei osodiad yn unig, y gallwn fwynhâu yr holl fendithion sydd ynddo.

Y mae yn osodiad *i Dduw* hefyd: "I ddangos ei gyfiawnder Ef." "I ddangos ei gyfiawnder trwy faddeuant pechodau." Gallasai Duw ddangos ei gyfiawnder heb iawn; ond nid dangos ei gyfiawnder trwy faddeuant. Gallasai ddangos ei gyfiawnder mewn digofaint i gosbi heb osod iawn; ond ni allasai ddangos ei gyfiawnder mewn trugaredd i achub. Dyma arddangosiad mawr a gogoneddus o'i gyfiawnder, wrth a thrwy faddeuant pechodau.

Ond y mae yn y testun gyfeiriad at y portrëad o drefn gras a maddeuant a osodwyd i fyny yn nghysegr sancteiddiolaf y babell gynt. "Hwn a osododd Duw yn Iawn"—yn drugareddfa—yn lle neu fan trugaredd. "Y drugareddfa" y gelwir cauad yr arch, yn yr hon yr oedd llechau y cyfammod, y dengair, y ddeddf ysgrifenedig â bys Duw ar y ddwy lêch faen. Yr oedd y drugareddfa o aur pur, o'r un hŷd a lled a'r arch, yn gorchuddio dros ei hwyneb hi. Ar y drugareddfa, ac yn ei chysgodi, yr oedd "cerubiaid y gogoniant," dau o honynt, yn sefyll un ar bob pen i'r arch, ac yn lledu eu hadenydd drosti, fel yr oedd blaen eu hadenydd yn cyffwrdd â'u gilydd, a'r ddau yn cydedrych i lawr ar y drugareddfa. Ar y drugareddfa, rhwng y cerubiaid, yr oedd y Shechinah, y goleuni tanllyd, yn bortrëad o'r Jehofah ei hun. Am hyny y dywedir ei fod yn "aros" ac yn "trigo" rhwng y cerubiaid. Yma yr oedd yr archoffeiriad i ymddangos ger ei fron, unwaith yn y flwyddyn, dros y bobl, ac enwau deuddeg llwyth Israel ar ei ddwyfroneg. Oddiyma y cyhoeddid hedd, a maddeuant, a chymmod, i holl Israel, ac y bendithid hwynt. "Cysgodau daionus bethau a fyddent" oedd y cwbl. "Portrëadau y pethau yn y nefoedd." Trefn iachawdwriaeth drwy Iawn Crist yn cael ei rhagefengylu mewn arwyddluniau o honi, cyn iddo Ef ei hun

ymddangos i dalu a rhoddi yr Iawn. Yr oedd y cysegr hwnw, o waith llaw, yn bortrëad o'r gwir gysegr—y nef ei hun. Yr arch a'r llechau cyfammod ynddi yn bortrëad o gyfiawnder Duw yn ei lywodraeth, yr hon sydd seiliedig ar egwyddorion moesol y ddwy lêch hyny. Y drugareddfa yn portrëadu yr Iawn. Cerubiaid y gogoniant yn arwyddluniau neu bortrëadau o'r angelion sanctaidd yn syllu ar, yn chwennych edrych i mewn i, ryfeddodau trefn iachawdwriaeth dyn, ac yn barod i ehedeg i gyflawni pob gwasanaeth a berthyn iddynt yn y drefn. Y Shechinah yn portrëadu y Jehofah uwch ben ei gyfraith, ar y drugareddfa, yn derbyn yr euog, ac yn gweinyddu maddeuant i droseddwr; neu, "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg Ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau."

Gallwn sylwi yn awr,

I. Fod Iawn Crist, yn ol y golygiad o hono a rydd y portread y cyfeiria y testun ato, yn osodiad yn nhrefn Duw er maddeuant pechodau, ag sydd yn gorchuddio dros, neu yn llawn ateb, gofynion y gyfraith.

Llonaid enaid y ddeddf—diwalliad cyflawn i'r oll a ofyna, ydyw. Yma gwelir cyfraith danllyd Sinai yn gorwedd yn dawel esmwyth yn yr arch, o dan nawdd a chysgod y drugareddfa, pan y mae deheulaw yr Hwn a'i rhoddodd, y bysedd a'i hysgrifenodd, yn estyn maddeuant a chymmod i'r euog a'i troseddodd, oddiar y drugareddfa uwch ei phen. Y mae yr Iawn wedi ei mawrhâu, a'i gwneyd yn anrhydeddus, fel nad yw gwaith trugaredd yn ymgeleddu y truan euog yn taflu un sarhâd na dirmyg arni. Cafodd yr anrhydedd a'r mawrhâd a gollodd ar law y troseddwr, yn yr Iawn trosto. Amddiffyna a cheidw yr Iawn ei gwirionedd a'i grym yn ddihalog. Cadarnhâ hi yn ei holl egwyddorion a'i hawliau, fel nad yw maddeuant pechodau trwyddo, ac ar ei gyfrif, yn cymylu dim ar ei gogoniant, nac yn anmharu dim ar ei grym. Iawn ydyw, llonaid yr adwy; llonaid genau, a llonaid calon, deddf. Dyma fan trugaredd, ynte. Heb Iawn ni buasai un lle, un man, i drugaredd ddisgyn arno. Gallasai hedfan uwch ben byd wedi ei orchuddio â diluw o drueni ac anobaith, fel colomen Noah gynt; ond ni chawsai le i osod gwadn ei throed i lawr byth ynddo. Byd wedi ei ddiofrydu dan felldith gyfiawn deddf oedd y byd. Yr holl

fyd dan farn Duw, a phob genau wedi eu cau. Gallasai trugaredd dosturio wrtho, ond nid ei ryddhâu. Gallasai deimlo trosto, ond ni allasai estyn ei chymwynasgarwch iddo. Yr oedd dan felldith y ddeddf, ac ni allasai trugaredd symud y felldith hono oddiarno, neu symud y byd odditan y felldith, heb ddryllio y ddeddf, a diorseddu cyfiawnder. Ond, "Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom." "Cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno Ef." Dyma Iawn, lle a man i drugaredd ddisgyn, a gweinyddu ei hymgeledd—i osod ei pheiriant arno, i godi a dyrchafu byd euog i fyny o ddyfnder ei felldith a'i drueni, a'r gyfraith yn dawel foddlawn dan gysgod a nodded Iawn. Ond gallwn fyned ymhellach. Y mae y gyfraith yn cael mwy nag amddiffyniad yn unig—mwy na diogelu ei grym—y mae yn cael ei chadarnhâu. Diogelu ac amddiffyn y gyfraith oedd beth mawr; ond ei mawrhâu a'i gogoneddu sydd yn beth mwy. Cawsai ei hanrhydedd ei ddiogelu a'i amddiffyn yn nhragywyddol gosbedigaeth ei throseddwyr. Ond yn ufudd-dod ac angeu Crist—hyny yw, yn yr Iawn, dodwyd anrhydedd a gogoniant ychwanegol arni; a mwy nag a allasai ufudd-dod perffaith ei holl ddeiliaid osod arni byth, a mwy nag a allasai gael byth chwaith oddiwrth gosbedigaeth dragywyddol yr holl rai euog.

II. Y MAE IAWN CRIST YN DDARPARIAETH AG SYDD YN ARDDANGOS ALLAN OGONIANT DUW YN EI HOLL BRIODOLIAETHAU, AC UNIONDEB EI ORCHWYLIAETHAU TUAG AT Y BYD: "I ddangos ei gyfiawnder Ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen," &c.; ac "i ddangos ei gyfiawnder Ef y pryd hwn, fel y byddai Efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu."

Nid yn unig y mae yn dangos ei *drugaredd*, ond hefyd ei *gyfiawnder*. Y mae y naill briodoledd yn dangos y llall. Yn ngosodiad Crist drosom ni, yr oedd ei gyfiawnder yn dangos ei drugaredd. Cyfiawnder oedd yn gofyn, yn taro, yn dryllio; ond yr oedd cyfiawnder wrth ei ofyn, ei daro, a'i ddryllio Ef, "y Cyfiawn dros yr anghyfiawn," yn dangos trugaredd tuag at droseddwyr. Yn ngweinyddiad maddeuant i'r edifeiriol mewn Iawn, wrth gyfiawnhâu yr annuwiol "trwy ffydd yn ei waed Ef," dyma drugaredd eto yn dangos *cyfiawnder:* cyfiawnhâu "dyoddgarwch" Duw tuag at y byd euog, yn ei arbed heb ei

ddinystrio—cyfiawnhâu dygiad y "meibion lawer i ogoniant" cyn ymddangosiad Crist yn y cnawd. Teifl yr Iawn oleuni yn ôl ar holl lwybrau a gorchwyliaethau blaenorol y Llywydd mawr, fel y gellir eu canfod mewn perffaith gysondeb a gogoniant; symuda ymaith y cymylau a'r tywyllwch oedd o amgylch yr orseddfainc, fel y gellir gweled mai cyfiawnder a barn yw ei thrigfa, neu ei sail, pan y mae trugaredd a gwirionedd yn rhagflaenu ei hwyneb. Y mae yr Iawn, fel hyn, yn gynnullfan *(focus)* pelydrau yr holl briodoliaethau Dwyfol, fel y maent ynddo yn cydlewyrchu allan mewn perffeithrwydd tegwch a gogoniant. Gweinyddiad trugaredd a maddeuant mewn Iawn yn unig a wna hyn. Wrth ddamnio a chosbi y troseddwr, llewyrcha purdeb, cyfiawnder, gwirionedd, a sancteiddrwydd Duw, tra y mae gras, trugaredd, a thosturi, yn sefyll draw ac o'r golwg. Ond wrth i drugaredd a gras gofleidio ac ymgeleddu truan euog yn y llwch, ni raid i gyfiawnder a gwirionedd sefyll o'r neilldu, ac ymgilio o'r golwg; ond rhodiant ymlaen i fod yn llygad-dystion o'r orchwyliaeth, a derbyniant ogoniant uwch a mwy rhagorol, oddiwrth waith trugaredd yn maddeu mewn Iawn, nag a dderbyniant oddiwrth eu gwaith eu hunain yn damnio ac yn cosbi! Yr Iawn yw yr esgynlawr ogoneddus hon, ar yr hon y cydgyferfydd cyfiawnder a heddwch, gwirionedd a thrugaredd, ac y cydymgusanant. Yma y gwelir Duw yn ymddysgleirio yn holl ogoniant ei enw, fel Tad tosturiol, a Barnydd cyfiawn.

"Doethineb, serch, a chariad, cawn
Yn cydlewyrchu yma 'n llawn,
A gwir, ac iawnder drud."

III. Y MAE IAWN YN GYFRYW DDARPARIAETH ER MADDEUANT PECHODAU AG SYDD YN TYNU SYLW, AC YN EFFEITHIO DYLANWAD, AR Y BODAU A'R DEALLTWRIAETHAU UCHAF A PHURAF YN LLYWODRAETH DUW.

Hyn hefyd a ddysg y portrëad o hono y cyfeiria y testun ato. "Ac uwch ei phen cerubiaid y gogoniant, yn cysgodi y drugareddfa." Mewn cyfeiriad at hyn y dywed Pedr, "Ar yr hyn bethau y mae yr angelion yn chwennychu edrych." Dyma y fan, a dyma yr agwedd, yr hoffai yr angel gael tynu ei bortrëad—uwch ben y drugareddfa, â'i adenydd ar led, a'i ben a'i lygad yn troi i lawr i

syllu a synu gogoniant y gosodiad a'r drefn gyfryngol. Pan y deuai yr angel ar dro i'r cysegr sancteiddiolaf gynt, syrthiai mewn cariad âg ef ei hun, wrth edrych ar ei arlun ar y drugareddfa: erioed ni thybiasai ei hun càn hardded o'r blaen.

Pe gofynesid i'r Cyfryngwr bendigedig ymha le, ac ar ba agwedd, y mynasai gael ei bortrëadu, y mae yr ateb yn barod—yn sefydliad y swper, yn ei ing a'i waed, yn ei boenau a'i angeu, pan oedd morthwylion deddf a chyfiawnder yn curo yr *aur pur*, i'w ledu yn drugareddfa i guddio wyneb yr arch. Pe gofynesid i Jehofah Dad, pa le a pha fodd yr ewyllysiai efe ei bortrëadu? Atebodd, yn ei waith yn dysgu Moses i wneuthur y babell—mai yn ngwisgoedd dysglaer ei gyfiawnder, yn gweinyddu trugaredd a maddeuant i'r euog tlawd yn Iawn ei Fab. A phe gofynid i'r credadyn eto ar ba agwedd y mynai yntau ei bortrëadu, atebai, mai yn y llwch a'r lludw, yn edifarhâu, ac yn ffieiddio ei hunan,

> "O flaen y drugareddfa fawr,
> Yn trengu wrth ei thraed i lawr;
> Yn druenusaf un a gaed,
> Yn brefu am rinweddau 'r gwaed."

Yma y saif yr angel yn dyst o'r orchwyliaeth ryfedd. "Mi a dröaf," medd ef, "ac a edrychaf ar y weledigaeth fawr hon." Agorodd trefn iachawdwriaeth dyn colledig, trwy Iawn, weledigaethau newyddion ger bron angelion. Hon bellach ydyw pwnc penaf eu myfyrdod, a ffynnon buraf eu dedwyddwch. Gweled ei Lywydd mawr yn edrych ar y truan edifeiriol yn faddeugar a chariadlawn oddiar y drugareddfa, a gweled yr euog yn edrych i fyny at ei Farnwr mewn cyfiawnder a gorfoledd, ydyw yr olygfa fwyaf gogoneddus a welodd llygad angel erioed.

Awgryma y portrëad hefyd, wrth osod y cerubiaid i sefyll ar y drugareddfa, mai yn yr Iawn y sicrhëir yr angelion mewn cyflwr o ddedwyddwch. Y dylanwad a gynnyrchir ar eu meddyliau wrth edrych "ar yr hyn bethau" a rwyma eu calonau byth mewn ufudd-dod a chariad. Hyn a wna yr argraff ddyfnaf ar eu meddyliau o ddrwg pechod, ac o ofn pechu. "Fel yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, y gallai grynhoi ynghyd yr holl bethau yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo Ef."

Yr angelion sanctaidd ac etholedig yn y nefoedd, yn gystal a'r eglwys etholedig o fysg dynion ar y ddaear, wedi eu cydgrynhoi, eu cydosod, a'u cydsefydlu, ynddo Ef, a thano Ef, fel eu Pen cyffredinol. Fel hyn, tra mae yr Iawn yn ddarpariaeth i godi dynion i fyny, y mae yn ddarpariaeth i gadw angelion rhag myned i lawr; yn drefn i godi ar ei draed y dyn a syrthiasai, ac i gynnal ar ei draed yr angel a safasai—cydsicrhâu y ddau mewn cyflwr o ddedwyddwch a gogoniant. Ar y drugareddfa y saif yr angel mwy, ac o flaen y drugareddfa y gwelir y dyn euog yntau yn ymuniawnu ger bron ei Farnwr, ac yn ymddyrchafu o ffos a thomen ei drueni, yn ngafael y drugaredd hono a ymestynodd ato mewn Iawn.

"Beth gan hyny a ddywedwn ni wrth y pethau hyn," wrth derfynu? Yn

1. *Ni a welwn yma obaith yn cael ei osod o flaen byd euog a cholledig.* Drws wedi ei agor yn y nef, na ddichon neb ei gau. Pwy bynag ydwyt, enaid! beth bynag a fuost, dyma ddigon ar gyfer dy dlodi, dy drueni, a'th golledigaeth. *Iawn*—digon am dy fywyd, digon i'th gyfiawnhâu, i faddeu yr holl anwiredd, ac i ogoneddu. Iawn wedi ei gael yn Nghrist: boddlonrwydd llawn a thragywyddol. Y mae maddeuant yn beth dyogel a diberygl yn llywodraeth Duw i'r enaid dychweledig ac edifeiriol. Nid hanner trugareddfa, hanner gorchudd, rhyw hanner digoni hawliau cyfiawnder; ni fuasai y gyfraith felly ond rhyw hanner dyogel, a hanner boddlawn i bardynu a rhyddhâu troseddwr; ni buasai iddo yntau ond rhyw hanner gobaith, ac ni allasai ei gydwybod fwynhâu ond rhyw hanner tawelwch. Buasai llygad eiddigus cyfraith hanner boddlawn yn ei ymlid ac yn ei anesmwytho byth. Ond, "Cyflawnwyd y gyfraith i gyd." Trefn gyflawn, trugareddfa gyflawn—Iawn. Gan hyny, dyma obaith, a dyma yr unig obaith, a dyma obaith cyflawn.

2. *Cysur cryf i ffoi i gymeryd gafael yn y gobaith.* Canys y mae yma fwy na gwneyd maddeuant yn ddiogel a diberygl; y mae yn anrhydeddus a gogoneddus: peth gwell nag angeu y troseddwr wedi ei gael yn angeu y groes. Gwell i'r ddeddf a chyfiawnder; gwell i enw, gorsedd, a llywodraeth Duw; gwell i ddangos drwg pechod, a'i gondemniad; gwell ymhob modd, ac i bob pwrpas. Paham y byddwch feirw? Nid oes eisieu nac

anghen i neb farw mwy, wedi ei farw Ef. Wrth faddeu mewn Iawn, wrth gyfiawnhâu yr euog "trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu," nid oes neb ar ei golled ond pawb ar eu hennill. Deddf wedi cael mwy na gwerth bywyd y troseddwr oedd wedi ei gondemnio ganddi, yn ei le a throsto yn yr Iawn. Duw, yr hwn sydd yn cyfiawnhâu, wedi cael yn Nghrist, "yr Hwn a fu farw:" drugareddfa i sefyll arni i ddangos ei gyfiawnder yn ddysgleiriach wrth faddeu pechodau nag y gallasai wrth gosbi y troseddwr. Yr angel wedi cael testun newydd e fyfyrdod, ffynnon newydd o ddedwyddwch, a rhwymyn newydd am ei galon i'w gadw byth rhag gwyro. O ddyfnder golud doethineb, cariad, a gras! Beth a fynit yn rhagor, bechadur? Y mae y drefn yn hollol ac yn sicr.

3. *Drwg anghrediniaeth.* Dyma yn unig sydd yn attal ac yn damnio. Ffydd, hyder yn ei waed Ef, yw yr unig beth anghenrheidiol yn awr. Pe byddai pechadur wedi cludo arno ei hunan euogrwydd drygau yr oesau, euogrwydd daear ac uffern, ffydd yn ei waed Ef a symudai y mynyddau ymaith.

"Euogrwydd fel mynyddau'r byd
Dry'n ganu wrth y groes."

Ond y mae anghrediniaeth yn rhwymo yr enaid dan euogrwydd ei holl bechodau, a hwn a'i rhwyma draed a dwylaw yn y diwedd dan y gosb ddyledus am danynt. Y mae "ffydd yn ei waed Ef" mor anghenrheidiol er cyfiawnhâd a maddeuant pechodau, ag ydoedd "ei waed Ef" i wneuthur iawn. Ei waed Ef yw y ffordd at Dduw, a thrwy ffydd ynddo y mae yr enaid yn rhodio y ffordd, ac yn dyfod at Dduw ar hyd-ddi. Y mae anghrediniaeth yn fathriad o'i Iawn, yn wrthodiad o'i drefn, ac yn tynnu ar yr enaid ryw gosbedigaeth fwy ofnadwy!

# PREGETH XXV.

### MEDDYLIAU A FFYRDD DUW YN UWCH NA'R EIDDO DYN.

GAN Y PARCH. DAVID MORRIS, BONT-NEWYDD.

"Canys nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i, medd yr Arglwydd. Canys fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear, felly uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, a'm meddyliau i na'ch meddyliau chwi."—ESAIAH lv. 8, 9.

MAE yr adnodau hyn yn dyfod i mewn yn hollol naturiol ar ol y rhai blaenorol iddynt. Os, wrth ddychwelyd at yr Arglwydd, y byddai i ryw wrthddadl godi yn meddyliau y pechadur, na chai dderbyniad ganddo, ac na chymerid trugaredd arno gan ein Duw ni, gallai gofio mai nid yr un yw meddyliau Duw a meddyliau dyn, a defnyddio hyny fel annogaeth i ddychwelyd ato, a pheidio digaloni er amledd ac ysgelerder ei bechodau. Oblegid y mae Duw yn un â'i air bob amser, ac nid oes arno eisieu cyfle i ddinystrio pechadur, ond i'w "arbed," a'i "arbed yn helaeth."

Yr hyn a osodir i lawr yn adn. 8 yw, fod gwahaniaeth rhwng Duw a dyn yn ei feddyliau a'i ffyrdd. Yn adn. 9, y mae y gwirionedd hwnw yn cael ei egluro ychydig: y peth a ddywedir yn y naill a eglurir i raddau yn y llall. "Canys fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear, felly uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, a'm meddyliau i na'ch meddyliau chwi," medd yr Arglwydd. Ond eto cymaint a wyddom ydyw, fod meddyliau a ffyrdd Duw yn uwch na'r eiddo dyn, "fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear." Nis gŵyr neb pa faint uwch yw y nefoedd na'r ddaear; felly nis gŵyr neb pa faint uwch yw meddyliau a ffyrdd Duw na'r eiddo dyn.

Ceisiwn ymdrin ychydig â'r GWAHANIAETH SYDD RHWNG DUW A DYN, YN BENAF YN EI FEDDYLIAU A'I FFYRDD.

Mae yn rhaid i ni gofio, wrth ddechreu gyda hyn, ein

bod i edrych i fyny gyda'r naill, ac i edrych i lawr gyda'r llall. Y mae y naill yn uwch na'r llall; ac eto nid ydym i ystyried y pellder yn bellder lle yn gymaint, ond yn hytrach gwahanol ddull o fod a gweithredu, sef *fod y naill o feddyliau a ffyrdd uwch na'r llall.*

Cymaint a allwn ni ei wybod am feddyliau a ffyrdd Duw ydyw, wrth ei air a'i weithredoedd. Mae yn rhaid i ni gymeryd tystiolaeth y gwirionedd am feddyliau yr Arglwydd, onidê yr ydym yn dueddol i farnu am dano Ef yn ol yr hyn ydym ni ein hunain; oblegid dyma yn gyffredin yw ffordd dyn.

Fe'n dysgir yn y gwirionedd *fod meddyliau Duw yn dragywyddol ac anghyfnewidiol.* Beth yw meddyliau dyn o fod mor uchel a hyn? Nid ydym i ddychymygu dechreuad i feddyliau yr Arglwydd, mwy nag iddo Ef ei hun; oblegid y mae ei feddyliau yn hollol yr hyn ydyw ef ei hunan, heb ddechreu na diwedd iddynt. Nid ydym i ddychymygu dim yn achos i'w feddyliau, nac ychwaith ddim rhwystr iddynt barhâu i fod; yn hytrach, y mae yr oll o hono Ef, ac erddo Ef, o ran ei feddyliau. Dyma yr uchafiaeth sydd yn perthyn iddynt.

Hefyd, y mae meddyliau Duw yn *anghyfnewidiol.* Mewn dull o ddywedyd, rhyw *un* meddwl mawr yw holl feddyliau yr Arglwydd. Mae meddyliau Duw yn rhy uchel i ddim tu allan iddo Ef ei hun effeithio arnynt er eu cyfnewid. Nid crëadur yn ymddwyn yn ol amgylchiadau yw Duw, ond Crëawdwr yr amgylchiadau oll; a'r cyfan i fyned wrth ei feddyliau, ac nid ei feddyliau Ef wrthynt hwy, fel yr eiddo dyn. "Cynghor yr Arglwydd a saif yn dragywydd; meddyliau ei galon o genedlaeth i genedlaeth." Mae llawer o bethau yn cyfnewid yn yr oesau a'r cenedlaethau; ond y mae meddyliau yr Arglwydd yr un "ymhob cenedlaeth ac oes." Ni wnaeth annuwioldeb ac anufudd-dod y naill effeithio arno, i'w lwfrhâu a'i ddigaloni, mwy nag y gwnaeth ufudd-dod a gostyngeiddrwydd y llall effeithio i beri ei fod yn fwy trugarog a maddeugar. Mae ei sancteiddrwydd mor danbaid, a'i gyfiawnder mor llym yn erbyn pechod, heddyw a'r tro cyntaf y cosbwyd ef; a'i drugaredd a'i dosturi at y dychweledig a'r edifeiriol y fath fel nas gall fod yn fwy. Yr oedd Elihu, cyfaill Job, yn deall fod yr Arglwydd o feddyliau rhy uchel i ddrwg na da dynion effeithio dim

arno, er cyfnewid ei feddyliau. "Edrych ar y nefoedd, a gwêl," meddai; "ac edrych ar y cymylau, y rhai sydd uwch na thi. Os pechi, pa niwed a wnei di iddo Ef?" &c., neu, "Os cyfiawn fyddi, pa beth yr wyt yn ei roddi iddo Ef?" &c. Mae hyn i gyd yn dangos, fod Duw yn rhy uchel i ddim y tu allan iddo Ef ei hun effeithio er cyfnewid ei feddyliau, y naill ffordd na'r llall. Ond nid felly dyn. Am hyny iawn y dywed yr Arglwydd, "Uwch yw fy meddyliau i na'ch meddyliau chwi."

Hefyd, *y mae ffyrdd Duw yn cyfateb i'w feddyliau:* "Uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi." Un uchel ei ffordd yw yr Arglwydd. Ni fyn llawer mai Duw yw Crëawdwr y byd, a'r grëadigaeth weledig hon; a hyny yn benaf, fe allai, am fod Duw mor uchel ei ffordd yn hyn, sef yn dwyn y cwbl i fodolaeth â gair ei enau. Dyma ffordd uchel! a dyma sydd yn dyrysu llawer. Uchel yw, ni fedrant oddiwrthi. Cyffelyb yw ffordd Duw yn nghynnaliad a llywodraethiad yr oll a grëodd. Gair ei nerth Ef sydd yn cynnal y cwbl mewn bod. A chan fod ei ffordd mor uchel yn hyn, mae llawer yn ei wadu Ef ei hun; a mwy yn methu deall dull ei orchwyliaethau. Mae ei blant Ef yn methu eu deall yn aml. Felly yr oedd yr hen Jacob, pan yn dywedyd, "Yn fy erbyn i y mae hyn oll," pan, mewn gwirionedd, yr oedd y cwbl o'i blaid. Ond uwch yw ffyrdd Duw na'r eiddo dyn! Cawn Samuel hefyd yn debyg, pan anfonwyd ef i eneinio Dafydd yn frenin. "Efe a edrychodd ar Eliab, ac a ddywedodd, Diau fod eneiniog yr Arglwydd ger ei fron ef. A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Samuel, Nac edrych ar ei wynebpryd ef, nac ar uchder ei gorffolaeth ef: canys gwrthodais ef. O herwydd nid edrych Duw fel yr edrych dyn: canys dyn a edrych ar y golygiad; ond yr Arglwydd a edrych ar y galon." "Uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi!" Cyffelyb y cawn fod cyfeillion Job hefyd, yn methu deall ffordd yr Arglwydd gydag ef, gan ei farnu yn rhagrithiwr, pan y mynai Duw ei brofi ef, ac y gwyddai nad oedd neb cyffelyb iddo ar y ddaear. Ffyrdd yr Arglwydd oedd yn rhy uchel i'w gyfeillion.

Ffordd sicraf a diogelaf dyn yw barnu y gwreiddyn wrth y ffrwythau, a'r egwyddor wrth y weithred; ond nid felly Duw. Gall Ef gymeryd y ffordd wrthwyneb yn hollol. Gŵyr Ef pa beth fydd raid i'r ffrwyth fod, am

ei fod yn gwybod pa fath yw y gwreiddyn; a barna Ef y weithred wrth yr adnabyddiaeth sydd ganddo o egwyddor y galon. Oblegid dyma ei ffordd Ef.

*Mae ffordd Duw yn iachawdwriaeth pechadur trwy Iesu Grist y fath, fel na fyn llawer mo'i gyfarfod Ef ynddi, am nad yw yn ateb i'w meddyliau hwy.* Eu meddyliau eu hunain oedd gan ddynion yn rheol eu hymddygiad tuag at Waredwr pechaduriaid, pan ymddangosodd yn y byd; a felly eu ffyrdd eu hunain a wnaethant. Ni fynent yr Iesu. Erlidiasant a chroeshoeliasant y Cyfiawn, er mwyn cyflawni eu llid a'u malais; gan dybied y darfyddai felly am bob peth perthynol iddo. Ond felly yr oedd ffordd Duw yn nhrefniad iachawdwriaeth i bechadur colledig. "Yr Arglwydd a fynai ei ddryllio Ef: Efe a'i clwyfodd!" "Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn?" Os lladdasant hwy y Cyfiawn mewn llid, fe wnaeth Duw ei ffordd am fywyd pechadur, a hono yn ateb yn hollol i'w feddyliau uchel Ef ei hun. "Uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi!" Dyma lle mae cynddaredd dyn yn moliannu Duw, a gweddill cynddaredd yn cael ei wahardd—Duw, yn ei ffordd ei hun, yn trefnu bywyd i bechadur trwy farwolaeth felldigedig y groes. Efe yw y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd; a chyfarfod â Duw yn ei drefn, trwy Iesu Grist, yw cyfarfod âg Ef yn ei ffordd am ein bywyd. Yma y mae Efe yn ei ffordd yn cymeryd trugaredd, ac yn arbed yn helaeth yr hwn sydd yn dychwelyd ato.

Gormod o duedd i feddwl fod yr Arglwydd yn debyg i ddyn yn ei ffyrdd, yw yr achos fod pechadur yn ammheu ei barodrwydd i drugarhâu a thosturio. 'Y mae arnaf ofn,' meddai y pechadur, 'os dychwelaf at yr Arglwydd, a minnau wedi ei ddigio trwy bechod, mai cymeryd y fantais arnaf i'm dinystrio a wna Efe.' Ah! meddwl rhy isel am yr Arglwydd yw hwna. Y mae Efe yn rhy uchel ei ffordd i wneuthur felly. "Uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, medd yr Arglwydd." Ffordd dyn yw dial pan y caffo fantais. O ran hyny, y mae y fantais yn barhâus gan Dduw arnom ni. Pe felly fuasai ei ffordd, buasem ni wedi ein dinystrio oll cyn hyn. Mantais i arbed y mae yr Arglwydd yn gymeryd. Ymddyrchafu i dosturio, a chwilio am le i drugarhâu, y mae Efe!

CASGLIADAU.

1. *Pan ystyrir un mor uchel yw Duw, onid yw yn syndod ei fod yn sylwi ar ddyn?* Diau fod llawer na welsant hyn erioed yn beth rhyfedd; eithr nid yw hyny ond yn dangos na buont erioed yn gwir ystyried; oblegid synu at hyn y mae pawb a ystyriodd hyny. Nid yn unig y mae hyn yn rhyfedd wrth feddwl am yr Anfeidrol ynddo ei hun, ond y mae felly wrth gymharu dyn â rhanau eraill o waith ei fysedd Ef. Pan edrychwn ar y nefoedd, gwaith ei fysedd; y lloer a'r ser, y rhai a ordeiniodd,—y cwestiwn naturiol a ofynir yw, os yn ystyriol, "Pa beth yw dyn i ti i'w gofio? a mab dyn, i ti ymweled âg ef?" Yn wir, os yw sylw yr uchel ar yr isel o gwbl yn destun syndod, sylw Duw ar ddyn sydd felly.

2. *Ffyrdd Duw a dynion a ddengys oreu pa fath yw eu meddyliau;* oblegid y mae eu ffyrdd fel eu meddyliau, ac yn ffrwyth naturiol iddynt. Felly y mae ffyrdd uchel Duw yn fantais i ni ddeall mor uchel yw ei feddyliau Ef.

3. *Y mae yn rhesymol i ni, pan na byddom yn deall ffyrdd yr Arglwydd, ymostwng iddo, a pheidio rhoddi dim yn ynfyd yn ei erbyn*—peidio byth a rhoddi ein meddwl bach ni yn rheol i feddyliau uchel yr Arglwydd. Os na allwn wneyd dim arall, bydded i ni dewi, megys Aaron gynt (Lef. x. 3). Oblegid uchel yw ffyrdd yr Arglwydd; ac yn wir, y mae mwy o grefydd i'w gweled mewn tewi, mewn rhai amgylchiadau, nag sydd mewn siarad. Teimlo yn awyddus i osod ei law ar ei enau yr oedd Job (pen. xl. 4), mewn un amgylchiad, gan ystyried bod mwy o ddysgeidiaeth a chrefydd mewn tewi, nag ymryson â'r Arglwydd, yr Hwn sydd mor uchel. Gan hyny, gofynwn am gymhorth i dewi ger ei fron Ef, ac ymostwng tan ei alluog a'i oruchel law!

4. *Pa bryd bynag yr ydym i gyfarfod â Duw, yr ydym i'w ddysgwyl yn anfeidrol uwch na dyn.* Oblegid yr ydym i'w ddysgwyl yn ateb i'w feddyliau a'i ffyrdd; gan hyny, y mae yn rhaid y bydd rhyw uchder digyffelyb yn perthyn iddo. Oni ddylai yr ystyriaeth hon greu ofn rhag bod yn anmharod i'w gyfarfod, a hefyd ymdrech i ymbarotoi? Ein gweddi a fyddo ato, gan hyny, am iddo arfer y mawredd a'r goruchelder sydd yn perthyn iddo, yn ei ras a'i drugaredd, tuag atom ni; a bydded i ni fyw gan rodio yn ei ffyrdd, a chydag Ef, nes ein cymeryd ato i'r goruchelder i'w ryfeddu byth!

# PREGETH XXVI.

## Y GWAS GANEDIG AC YMRODDEDIG.

## GAN Y PARCH. ROGER EDWARDS.

"O Arglwydd, yn ddiau dy was di ydwyf fi; dy was di ydwyf fi: mab dy wasanaethwraig; dattodaist fy rhwymau."—PSALM cxvi. 16.

YR ydym bawb yn weision i'r hwn yr ydym yn ufuddhâu iddo. "Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod, y mae efe yn was i bechod;" ac hyd yn hyn, dyna nodweddiad y nifer lïosocaf o ddynion. Maent yn gwasanaethu chwantau ac amryw felyswedd, ac yn cael eu dal yn meddiant y diafol, yn gaethion wrth ei ewyllys ef. Ond os fel hyn y mae'r llïaws, y mae gweddill i'w cael o gymeriad arall. Mae rhai—oes! a llawer mewn manau—wedi eu rhyddhâu oddiwrth bechod, a'u gwneuthur yn weision i Dduw. Er fod y rhan fwyaf wedi ymwerthu i fyd a chnawd, eto y mae aml un yn y dyddiau hyn yn gallu edrych tua'r nefoedd gyda'r Salmydd yn y testun, a dywedyd, "O Arglwydd, yn ddiau dy was di ydwyf fi; dy was di ydwyf fi." Mae pob duwiol yn synio a theimlo mai rhoddi ei hun i Dduw a'i waith yw ei resymol wasanaeth. Ac felly, ni a welwn, yr oedd y Salmydd yma. Yr oedd ystyriaeth o'r hyn ydoedd, ac o'r hyn a wnaeth Duw iddo, yn ei gymhell yn effeithiol i lynu wrth yr Arglwydd ei Dduw, a'i wasanaethu ef yn unig.

Mae yma ddau beth i sylwi arnynt:—yr ardystiad penderfynol a wneir: "O Arglwydd, yn ddiau dy was di ydwyf fi; dy was di ydwyf fi;" a'r ystyriaethau cymhelliadol a gofnodir: "mab dy wasanaethwraig; dattodaist fy rhwymau." O Arglwydd, ni feiddiaf fi ond bod yn was i ti; dylwn i yn anad neb dy wasanaethu. Daethum yn was i ti trwy enedigaeth; gan mai "mab dy wasanaethwraig" ydwyf, yr wyf i ti yn was ganedig. A thi a'm hennillaist hefyd trwy waredigaeth: "dattodaist fy rhwymau;" ac am hyny dy was ymroddedig a fyddaf byth. Edrychwn ymlaenaf ar—

ARDYSTIAD GWRESOG Y SALMYDD: "O Arglwydd, dy was di ydwyf fi; dy was di ydwyf fi."

Gellid meddwl ei fod yn llefaru hyn gyda rhyw deimlad cryf angerddol. Mae yn sicrhâu ei ddywediad yn ddibetrus: "O Arglwydd, YN DDIAU dy was di ydwyf fi." Ac y mae yn dyblu yr ymadrodd: "Dy was di ydwyf fi; dy was di ydwyf fi."

Yr oedd wrth ddyweyd hyn mor benderfynol, ac wrth ail ddywedyd hyn, yn dangos y cyfrifid ganddo yn fraint oruchel ei fod yn was i Dduw. Mae fel pe byddai wedi ei orlenwi â syndod wrth feddwl am y fath ragorfraint a ddaeth i'w ran. "O Arglwydd, dy was di ydwyf fi;" ïe, O rhyfedd! ïe, O diolch! "dy was di ydwyf fi!" Mynych iawn yn llyfr y Salmau y cawn Dafydd yn ei alw ei hun yn was Duw, gan fel yr oedd yn ymhoffi yn yr enw. "Dy was" medd efe yn ei weddïau fyth a hefyd. Ac y mae yn dodi hyn yn deitl wrth rai o'i Salmau, "Salm Dafydd gwas yr Arglwydd." Fe allasai ddyweyd, Salm Dafydd benrhyfelwr, neu, Salm Dafydd ben bardd, neu, Salm Dafydd frenin, neu, Salm Dafydd brophwyd. Ond yr oedd yn cyfrif hyn yn enwad uwch ac anrhydeddusach o lawer,—"Salm Dafydd gwas yr Arglwydd." Yr ydym yn cael Paul hefyd yn rhoddi hyn i lawr wrth ei enw fel ei urdd uchaf yntau, "Paul gwas Duw." A'r angel a ymddangosodd i Ioan yn Patmos, yr oedd yntau yn ymogoneddu yn ei berthynas fel gwas y Goruchaf. Ioan, yr ydym ni ill dau yn weision i'r un Meistr mawr. "Cydwas ydwyf fi â thydi." Mae urddas y meistr bob amser yn adlewyrchu urddas ar ei was. Edrychir ar swydd isel o gylch tywysog a brenin yn anrhydeddus. Wedi i frenines Seba weled Solomon yn ei holl ogoniant, a chlywed ei ddoethineb arbenig, hi a dorodd allan i ddywedyd, "Gwyn fyd dy weision hyn, y rhai sydd yn sefyll yn wastad ger dy fron di." Beth, ynte, yw cael bod yn weision iddo Ef, y Goruchel a'r Dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb, ac y mae ei enw yn Sanctaidd! Gwrthryfelwr yn erbyn y nefoedd—un a haeddodd fod mewn cadwynau tragywyddol dan dywyllwch gyda'r diafol a'i angelion—un felly yn cael ei ddwyn i balas y Brenin mawr i fod yn was iddo ef—uchelfraint mewn gwirionedd, a dyrchafiad rhyfedd, ydyw hyn!

Ac hefyd wrth ddywedyd hyn ddwywaith, yr oedd y Salmydd yn dadgan ei ymroddiad diedifarus i'r gwasanaeth. "Dy was di ydwyf fi;" ïe, mi a'i hailadroddaf, i ddangos nad oes arnaf gywilydd nac ynof edifeirwch o'r herwydd: "dy was di ydwyf fi;" dy wasanaethu di, O Arglwydd, a wnâf tra byddwyf. Fe allai ei fod yn cyfeirio at y ddeddf am y caethwas yn Israel, pan ddeuai yn ben tymmor arno i ddyfod yn rhydd. Os byddai hwnw, oddiar hoffder at ei feistr ac at ei le, yn ewyllysio cael aros yn ei wasanaeth yn lle myned ymaith, yr oedd raid iddo roi ei glust i'w thyllu drwyddi i'r ddôr, yn arwydd nad oedd efe am newid tŷ na gwasanaeth ei feistr byth. Ymroddiad gwirfoddol a gwastadol o'r fath oedd yn nghalon y Salmydd; dy was di, Arglwydd! dy was di! dyna ydwyf, a dyna fyddaf. Mae y gwasanaeth a phobpeth sydd yn perthyn iddo wrth fy modd; Meistr da, tŷ da, gwaith da, a chyflog da. Yr wyf yn foddlawn i ti, Arglwydd, dyllu fy nghlust wrth y ddôr: "gostyngais fy nghalon i gadw dy ddeddfau byth hyd y diwedd." Rhwymer ninnau wrth Dduw â'r unrhyw ysbryd ymroddgar!

Ond, beth yw bod yn was i Dduw? Mewn un ystyr y mae pawb a phob peth, pob dyn a phob crëadur, yn weision i Dduw. "Dy weision di yw pob peth." Beth yw lluoedd aneirif crëadigaeth ond "ei holl weision yn gwneuthur ei ewyllys Ef?" Y maent oll yn ddarostyngedig i lywodraethiad ei allu, ac i arweiniad ei ddoethineb; y maent oll yn ei law yn cyflawni ei fwriadau, ac yn y naill fodd neu y llall yn dadguddio ei ogoniant. Ond dichon y gellir dywedyd yn fwy cymhwys, fod yr Arglwydd Dduw yn ei wasanaethu ei hunan trwyddynt hwy, ac nid hwy mewn ystyr briodol yn ei wasanaethu ef. Gellir edrych ar y peiriant sydd yn tynu y cerbydau ar y ffordd haiarn fel gwasanaethydd i'r meddiannwyr cydgyfranogol; ond y mae efe felly mewn modd gwahanol iawn i'r peiriannydd sydd yn ei lywio a'i hwylio ymlaen. Gweision yr Arglwydd, yn yr ystyr fwyaf priodol, yw y rhai hyny a roddasant eu hunain iddo mewn cyfammod, y rhai sydd yn ymostwng i'w efengyl drwy ffydd, ac i'w gyfraith drwy gariad, ac ydynt yn edrych arnynt eu hunain yn yr oll ag ydynt yn gysegredig iddo. A dyna pa fath rai yw pobl dduwiol ymhob man lle y maent. Nid ydyw y berthynas hon i'w chyfyngu i'r rhai hyny sydd

mewn swyddau cyhoeddus yn eglwys Dduw, er yr edrychir ar weinidogion yr efengyl yn neillduol fel gweision i'r Duw Goruchaf. Y maent hwy yn wasanaethwyr mewn lle uwch, cyhoeddusach, a phwysicach na Christionogion yn gyffredin; eithr, megys y mae pob milwr yn was i'r penadur, er mai ychydig mewn cymhariaeth yw swyddogion y llu, felly y mae mab neu ferch dduwiol mewn sefyllfa anghyhoedd yn gwasanaethu Duw mor wirioneddol â'r pregethwr neu y cenadwr mwyaf defnyddiol a llwyddiannus. Gellir dywedyd am bob credadyn, fod gwasanaeth yr Arglwydd yn egwyddor ei natur ac yn hyfrydwch ei einioes.

Yr un peth yw gwasanaethu yr Arglwydd â byw yn dduwiol, sef yw hyny, ufuddhâu i orchymynion Duw, ymostwng i'w ewyllys, anrhydeddu ei enw, a dilyn ei achos a'i addoliad. Rheol y gwasanaeth yw yr Ysgrythyr lân. Mae'yn rhaid i was Duw gymeryd y gyfraith o'i enau ef, ac nid dilyn ei fympwy ei hun neu gadw gorchymynion dynion. Am athrawiaeth i'w chredu, neu ddyledswydd i'w gwneuthur, neu addoliad i'w gadw, rhaid iddo ef gael hyn o awdurdod ar y naill a'r llall, Y Meistr a'i dywedodd! Cylch y gwasanaeth sydd ëang a chynnwysfawr: mae yn cymeryd i fewn ein holl alluoedd, ein holl weithredoedd, a'n holl amser. Boddloni ac anrhydeddu ei Feistr mawr, a ddylai fod amcan gwas Duw yn yr oll a wnelo. Wrth ddewis sefyllfa, neu drigfa, neu briod, dyma sydd i fod ei gwestiwn blaenaf ef, A fydd hyn yn fantais i mi gyda golwg ar wasanaethu Duw? Y mae i gofio ei fod i wasanaethu ei Arglwydd nefol, nid yn unig wrth ddarllen a gwrandaw y gair, wrth ganu a gweddïo a chymuno, ond hefyd wrth drîn y byd, wrth brynu a gwerthu, wrth gyflawni gorchwylion ei alwedigaeth ddaearol, ac yn ei holl gylchoedd teuluaidd, cymydogol, a gwladol. Beth bynag a wnelo ar air neu ar weithred, y mae i wneuthur pob peth yn enw yr Arglwydd Iesu, ac er gogoniant i Dduw. Dyma yr ateb sydd gan wasanaethwr Duw i'w roddi i ddêniadau y byd, i hudoliaethau y cnawd, ac i demtasiynau y diafol, Nis gallaf gydsynio; nid fy eiddo fy hun ydwyf, ac nid byw i mi fy hun a ddylwn; gwas Duw ydwyf fi. Os bydd elw bydol a rhwymedigaeth grefyddol yn sefyll ar wahân, os bydd raid gadael y naill er mwyn cyrhaeddyd y llall, buan y

dengys gwir was Duw ei ochr. Doed a ddelo i mi gyda golwg ar y byd, medd efe, o du yr Arglwydd y mynaf fod; ei was ef ydwyf fi! A gâf fi ofyn, A ydyw proffeswyr crefydd yn gyffredinol yn ymroddgar i Dduw fel hyn? Chwi sydd âg enw gweision yr Arglwydd arnoch, a ydyw anian y gwasanaeth ynoch? ac a ydyw y *livery* i'w ganfod am danoch ymhob lle? Gwneler ni yn ddidwyll a ffyddlawn yn ngwasanaeth ein Duw! Aroswn bellach ar—

YR YSTYRIAETHAU CYMHELLIADOL OEDD YN CYNHYRFU Y SALMYDD I WASANAETHU DUW YN BENDERFYNOL A GWRESOG: Dy was di a ddylwn i fod yn anad neb, Arglwydd; a'th was di a fyddaf fi, gwnaed eraill a wnelont; o herwydd yr wyf yn cofio mai mab dy wasanaethwraig ydwyf, ac yn teimlo yn wir ddiolchgar am i ti ddattod fy rhwymau. Dyma ddau gymhelliad grymus oedd yn perswadio meddwl y Salmydd i ymroddi i wasanaethu Duw, ac i ddadgan yn gyhoeddus yr ymroddiad hwnw:—y fantais foreuol a gafodd i wasanaethu Duw o ran ei gysylltiad teuluaidd,—"mab dy wasanaethwraig;" a'r ffafr fawr a dderbyniodd oddiwrth Dduw yn bersonol,—"dattodaist fy rhwymau."

Yn gyntaf, yr oedd cofio pwy ydoedd yn gymhelliad effeithiol iddo: "mab dy wasanaethwraig." Dy was di ydwyf fi, o herwydd dy wasanaethyddes di oedd fy mam i. Ni a gawn Dafydd yn cyfeirio at yr un peth mewn lle arall, gan ei gymeryd yn ddadl mewn gweddi am ffafr a nodded Duw iddo pan mewn rhyw gyfyngder neillduol: "Edrych arnaf a thrugarha wrthyf; dyro dy nerth i'th was, ac achub fab dy wasanaethferch." Mae yn rhaid fod rhyw reswm am ei waith yn crybwyll ac yn ail grybwyll fel hyn am ei fam yn hytrach na'i dad. Gallwn dybied mai gŵr duwiol oedd Jesse ei dad; ond ni a allem feddwl fod mam Dafydd yn wraig dduwiol iawn, yn hynod mewn duwioldeb, yn un oedd "yn ofni Duw yn fwy na llawer;" ac o herwydd hyny fod y Salmydd byth yn edrych i fyny at ei choffadwriaeth gyda pharchedigaeth a hyfrydwch arbenig. Dichon hefyd mai iddi hi yr oedd efe yn fwyaf rhwymedig am hyfforddiant, pan yn blentyn, yn mhen ei ffordd. Efe oedd fab ieuengaf Jesse, ac felly mae yn ddigon naturiol i ni dybio ei fod ef lawer iawn gartref gyda ei fam, pan y byddai Jesse, a'r bechgyn eraill, yn y maes yn llafurio y ddaear, neu ar hyd y myn-

yddoedd yn bugeilio y defaid, ac mai mynych a melus fyddai yr holi a'r ateb rhyngddi hi a'i hoff blentyn am weithredoedd Arglwydd Dduw Israel. Hwyrach y bu Jesse yn anadnabyddus o athrylith Dafydd fychan, neu ynte yn hollol anghefnogol iddo, oddiar feddwl y byddai ei dalent farddonol a'i duedd fyfyrgar yn ei anghymhwyso at lafurwaith amaethyddol; ac fe allai fod Eliab, a'r brodyr eraill, yn edrych yn ddiystyrllyd ar ddawn a chwaeth eu brawd ieuengaf, gan wawdio ei waith yn cyfansoddi pennillion o fawl a gweddi. Ond yr oedd ei fam, pa fodd bynag, yn ei ddeall, ac, oddiar ei hysbryd crefyddol, yn ei gefnogi i astudio a mynegu rhyfeddodau yr Arglwydd; er, mae yn debyg, mai ychydig yr oedd hithau yn ei feddwl ar y pryd ei bod yn magu "eneiniog Duw Jacob, a pheraidd ganiedydd Israel," yr hwn a gyfansoddai salmau a fyddent yn drysor i eglwys Dduw holl ddyddiau y ddaear. Ni a allwn nodi yma, wrth fyned heibio, fod dylanwad y fam ar ei phlentyn yn fawr ac yn ddwys iawn, a bod o'r pwys mwyaf iddi hi, i'r plentyn, ac i'r byd, pa fodd y defnyddia hi y dylanwad hwnw. Dyma y rheswm a roddir am ffyrdd annuwiol un o freninoedd Judah: "Canys ei fam oedd ei gynghor ef i wneuthur drwg." A pha faint yw gwerth mam wir 'grefyddol? Mae yn ddiau fod miloedd lawer ar y ddaear, ac yn y nefoedd, yn bendithio Duw am fam dduwiol. Yn nesaf at weinidogion y gair, fe dybygid fod mamau wedi bod yn brif foddion, dan fendith Duw, i ddal i fyny grefydd ar y ddaear. Yr Arglwydd a wnelo famau a thadau yn ffyddlawn yn eu goruchwyliaeth bwysig!

Ond ymha le y mae grym y cymhelliad hwn? Mi ddylwn, ac mi wnâf fi, dy wasanaethu am mai "mab dy wasanaethwraig" ydwyf. Fe allai y gallwn ni chwalu yr ystyriaeth hon o eiddo y Salmydd i dri pheth:—

"Mab dy wasanaethwraig:" *mi a gefais fel y cyfryw fy meithrin yn athrawiaeth a rheolau dy wasanaeth.* Nid gydag estron i addoliad Duw Israel y magwyd fi; nid mewn teulu didduw y'm dygwyd i fyny; eithr mi a gefais fy hyfforddi o'm mabandod yn egwyddorion a defodau gwasanaeth yr Arglwydd, canys ei wasanaethferch ef oedd fy mam i. "O'm hieuenctyd hefyd y'm dysgaist, O fy Nuw." Do: ti a'm dysgaist yn ieuanc iawn; o herwydd sôn am danat oedd yr hyn a glywais i gyntaf ar

aelwyd fy mam, ac fe roes hyn fantais fawr imi, a rhwymedigaeth fawr arnaf, i'th wasanaethu yn bersonol.—O mor werthfawr yw addysgiant crefyddol, ac mor bwysig yw cyfrifoldeb y rhai a gawsant hyny! Y mae addysg yn mhethau y byd, ac am wrthddrychau naturiaeth, yn fuddiol ac yn ofynedig gyda golwg ar wasanaethgarwch cymdeithasol yn y fuchedd hon; ond y mae addysg ysgrythyrol yn anhebgorol anghenrheidiol gyda golwg ar wasanaethu y bywiol a'r gwir Dduw, ac er mwyn darparu erbyn byd o anfarwoldeb. Tymmorol yw perthynasau y naill, a thragywyddol yw holl gysylltiadau y llall. Ffeithiau i'r deall ac i'r cof yw yr hyn a geir mewn gwybodaethau naturiol, ond egwyddorion bywiol i'r galon yw hanfod gwybodaeth grefyddol. Ac mor ddeniadol yw cael y wybodaeth ynghylch y ffydd ddiffuant trwy addysg mam! Llais y fam yw y beroriaeth gyntaf a'r anwylaf a glyw y plentyn; ei gwên yw ei wynfyd; a'i hewyllys yw ei ddeddf. Ac nid oes olwg brydferthach ar y ddaear na gweled mam yn cyfeirio ei phlant bychain tua Bethlehem, Gethsemane, a Chalfaria, gan ddywedyd, Wele Oen Duw! Pa beth a ddywedaf wrth y rhai sydd wedi cael eu magu gan eu rhieni yn ngeiriau y ffydd ac athrawiaeth dda? Yr oedd pethau Duw yn cael eu gwasgu at eich meddyliau tyner trwy gynghorion tirion tad, a rhybuddion mwynion mam; dygwyd chwi i fyny yn nghlyw pregethiad ffyddlawn o'r efengyl, ac yn mreintiau eglwys Dduw; ac felly cawsoch eich maethu yn hinsawdd crefydd; yr oeddech o'r dechreuad yn sangu ei thir, ac yn anadlu ei hawyr hi. A wnaethoch chwi iawn ddefnydd o'r fath fanteision anmhrisiadwy? Wedi eich hyfforddi yn fore am Dduw ac am eich dyled iddo, a ydych chwi yn amcanu yn gywir rodio a boddloni Duw? Cofiwch mai "i'r rhai y rhoddwyd llawer, llawer a ofynir." Gellwch chwi anghofio eich cyfleusderau, ond nid anghofir hwy gan Farnwr pawb. Ymddygir atoch chwi yn nydd y cyfrif fel rhai a freintiwyd â'r addysg oreu. Os oes neb o honoch chwi yn byw heb wneuthur ewyllys yr Arglwydd, y mae hyny nid am na wyddoch ei ewyllys ef. Os dyfethir chwi, nid o eisieu gwybodaeth y bydd hyny. Os collwch chwi y nefoedd yn mhen eich taith, hyny a fydd nid am nad hysbyswyd i chwi am y ffordd sydd yn arwain tuag yno. Gwareded y Nefoedd y rhai a feithrinwyd yn egwyddor-

ion y gwirionedd, rhag bod yn euog o attal y gwirionedd mewn anghyfiawnder!—Dyna beth arall a geir yn yr ystyriaeth hon,—

"Mab dy wasanaethwraig" ydwyf, Arglwydd, ac felly *mi a gefais esampl rymus a hoff o'r gwasanaeth*. Gwraig dduwiol oedd fy mam yn ddiammheuol; gwyddost ti hyny, Arglwydd; ac mi wn innau hyny. Nid yn unig hi a ddywedai wrthyf am dy wasanaeth, ond yr wyf fi, ei mab, yn dyst fod fy mam yn dy wasanaethu mewn gwirionedd â'i holl galon. Nid yn hawdd y gallaswn beidio syrthio mewn cariad â'th wasanaeth wrth weled y fath arddangosiad o'i werth a'i brydferthwch yn ysbryd ac ymddygiad yr hon a'm hymddŷg. "Dy was di ydwyf fi, mab dy wasanaethwraig."—Dyma le i wasgu yn ddifrifol at rïeni, A all eich plant chwi ddyweyd am danoch heb betruso mai gwasanaethwyr Duw ydych? A ydyw eich holl fuchedd yn rhoddi argraff ar eu cydwybodau mai rhai ydych sydd yn ofni yr Arglwydd? Mae yn drwm gorfod dywedyd fod rhai rhieni proffesedig i'w cael âg y byddai yn gyfiawn dywedyd wrthynt,—siaradwch lai am grefydd yn ngwydd eich plant, neu dangoswch fwy o effeithiau crefydd ar eich tymher a'ch rhodiad: rhowch i fyny y weddi deuluaidd, neu diwygiwch o'ch beiau teuluaidd! "Yr hwn wyt yn addysgu arall, oni'th ddysgi dy hun?" Nid oes un ffordd rwyddach i wneyd eich teuluoedd yn anffyddwyr a deistiaid nag i chwi arfer defodau crefyddol â byw o flaen eu llygaid yn anghrefyddol. Gwyn fyd y tad hwnw a'r fam hono sydd yn gallu dyweyd wrth eu plant, Y pethau a glywsoch genyf fi, ac a welsoch ynof fi—y pethau hyn gwnewch! Mi a welais hanes am lanc ieuanc oedd yn meddu tad crefyddol, ond efe ei hun yn ymbleseru mewn anghrefydd. Er mwyn cael esgus am ei ymlygriad, fe geisiodd â'i holl egni ei berswadio ei hun nad oedd crefydd ond twyll, na chrefyddwyr ond rhagrithwyr. Ac i'r dyben hwn, fe benderfynodd ddirgel-graffu ar ei dad yn ei holl ymarweddiad, fel y gallai, od oedd bosibl, gael rhyw brawf o'i anghywirdeb. Ond er gwylio ar ei gamrau ymhob modd, heb fod ei dad yn gwybod dim am ei amcan, ofer oedd ei holl ymchwil; yr oedd yn y diwedd yn methu cael ei dad yn ddim ond yn Gristion yn wir, yn yr hwn nad oedd dwyll. Wel, wel! meddai, y mae rhywbeth yn nghrefydd fy

nhad sydd yn fy ngorfodi i addef y rhaid fod yna fwy na gwaith dyn! Ac fel hyn, wrth sylwi ar ymarweddiad sanctaidd ei dad, fe'i hennillwyd yntau cyn hir i roddi ei hun i'r Gwaredwr ac i'w eglwys. Mae lleferydd buchedd dduwiol yn siarad yn uchel, ac yn dal i adseinio yn hir iawn. Gallem adrodd am ambell dad crefyddol oedd yn cynnal i fyny y weddi deuluaidd gyda chysondeb yn wyneb digalondid mawr; yr oedd ei blant yn ymddangos fel heb weled dim gwerth yn ngweddïau eu tad. Ond wedi iddo ef huno yn yr angeu, fe welwyd y bechgyn celyd dan wylo yn dywedyd, O! pwy a gawn i gadw dyledswydd yma bellach? Yr oedd edrych hyd yn nôd ar yr hen gader y byddai eu tad yn eistedd arni ac yn penlinio wrthi yn yr addoliad teuluaidd, yn lluchio argyhoeddiad i'w meddwl, ac ni chawsant esmwythder nes rhoddi eu hunain i wasanaeth Duw eu tad. Llawer merch, yn nghanol gwylltineb ieuenctyd, a arafwyd gan adgof fel hyn, Ow! i ba le yr aethum? Nid dyma yr hyn a welais gyda fy hen fam sydd yn pydru yn y bedd! Yr oedd fy mam yn hoff o ddarllen ei Bibl, ac o fyned o'r neilldu i weddïo; un hynod ydoedd fy mam am gadw y sabbath, a'r lle goreu ganddi oedd tŷ yr Arglwydd; a phe buasai hi yn fy ngweled yn ymlygru gyda chyfeillesau annuwiol, gwnaethai hyny i'w chalon waedu! O Arglwydd, yr hwn a roddaist grefydd dda i fy mam, dyro yr un grefydd i minnau hefyd! Chwychwi sydd yn blant i rieni duwiol, edrychwch ar fod eu hesamplau sanctaidd hwy yn eich arwain i'r nefoedd, ac onidê bydd yr adgof am danynt yn eich llethu yn îs yn uffern. Dywedwch gyda Moses yn ei gân, "Yr Arglwydd, efe yw fy Nuw, efe a ogoneddaf fi; Duw fy nhad, a mi a'i dyrchafaf ef."—Dyna ystyriaeth arall, ac at yr hyn, fe allai, y cyfeirir yn fwyaf uniongyrchol gan y Salmydd,—

"Mab dy wasanaethwraig;" o herwydd hyny *mae fy mherthynas gyfammodol yn fy rhwymo i'th wasanaeth.* Mae yma yn ddiau gyfeiriad at y gyfraith Iuddewig ynghylch gwasanaethyddion. Os byddai i'r meistr roddi gwraig i'w was prynedig, ac iddi hithau blanta, yr oedd yr holl blant a enid yn nhŷ y meistr i gael edrych arnynt yn eiddo y meistr; yr oedd efe i'w cymeryd o dan ei nodded, a hwythau i gyfranogi o'r ddarpariaeth deuluaidd, ac i ymgymeryd mewn amser â'r gwasanaeth teuluaidd. Felly,

medd y Salmydd yma, Dy eiddo di, Arglwydd, oedd fy mam, ac yn dy dŷ di y'm ganwyd innau; yr wyf fel hyn yn eiddo i ti yn nhrefn dy gyfammod, ac nid oes genyf hawl i'm rhoi fy hun i wasanaethu neb arall. "Dy was di, dy was di ydwyf fi; mab dy wasanaethwraig." Gwirionedd sydd yn ymddangos i ni yn dra eglur yn rhedeg trwy yr holl Fibl ydyw, fod pobl yr Arglwydd a'u plant yn perthyn i'r un cyfammod, ac felly fod y naill a'r llall i gael edrych arnynt yn gysegredig i'r Arglwydd. Dyma yr addewid fawr yn nghyfammod Duw â'i bobl, "Byddaf yn Dduw i ti, ac i'th hâd ar dy ol." "I chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant." Wedi i'r gŵr neu y wraig ddigred ddychwel at Dduw yn ffydd yr efengyl, dyna drefn y cyfammod yn gafaelu yn ebrwydd yn eu hiliogaeth. "Pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eich plant, eithr yr awrhon sanctaidd ydynt;" hyny yw, neillduedig i Dduw a'i eglwys ydynt. Mae yn anghyfiawn i'r cnawd gael eu gwasanaeth hwy, o herwydd eiddo Gŵr arall ydynt: lladrad yw i'r byd eu meddiannu, canys y mae marc a sêl Duw arnynt; "Yr awrhon sanctaidd ydynt." Ni a gawn bobl dduwiol yn y Bibl, pan mewn tywyllwch meddwl a chyfyngder amgylchiadau, yn bachu eu ffydd wrth y ddolen hon,—eu perthynas gyfammodol â Duw o'u mabandod. "Achub fab dy wasanaethferch." "Nac ymbellhâ oddiwrthyf, o herwydd cyfyngder sydd agos." Nid all neb ond tydi, Arglwydd, fy helpio yn awr; ac, yn wir, mae yr hen berthynas sydd rhyngom â'n gilydd yn gwahardd i mi feddwl troi at neb arall. "Canys ti a'm tynaist o'r groth," ac wrth fy nwyn oddiyno i'r byd, ti a'm cymeraist ar unwaith i'th eglwys; "gwnaethost i mi obeithio pan oeddwn ar fronau fy mam." Er fy mod yno yn analluog i ymarfer gobaith, ti a roddaist sylfaen y pryd hwnw i obaith adeiladu arni, wrth fy nerbyn i'th gyfammod. "Arnat ti y'm bwriwyd o'r bru," yn nghyflwyniad fy rhieni o honof i ti fel eu Duw hwy a fy Nuw innau; am hyny, "o groth fy mam fy Nuw ydwyt." Pan yr oedd Pedr yn galw ar yr Iuddewon, "Edifarhewch a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau,"—dyma un annogaeth oedd ganddo er eu cymhell i ymostwng i'r alwad, "Chwychwi ydych blant y cyfammod, yr hwn a wnaeth Duw â'n tadau ni." O herwydd eich hen waedoliaeth anrhydeddus, yr ydych chwi yn cael y cynnyg cyntaf ar ras yr efengyl; ac y mae yn

alaethus meddwl i chwi, yn anad unrhyw bobl, fod yn golledig: plant y prophwydi, a phlant y cyfammod ydych chwi,—edifarhewch a dychwelwch! Y mae llawer yn ein mysg ninnau y gellir eu cyfarch fel "plant y cyfammod." A gawsoch chwi y ffafr o feddu rhieni duwiol? Yr ydych yn hyny wedi cael mwy o fraint na phe ganesid chwi bendefigion a thywysogion. Pan yr oedd llygaid eich rheswm yn dechre ymagor, cawsoch chwi eich hunain yn nythu yn nghôl ymgeledd gynhes tŷ yr Arglwydd; rhoddwyd chwi i lawr yn ffordd y fendith yn eich cychwyniad; yr oedd yr addewid yno yn gwenu arnoch, gan eich cyfeirio yn ddiaros at ei orphwysfa ef. O! fe'ch cyfodwyd chwi o ran breintiau yn uchel, a gwybyddwch fod eich cyfrifoldeb yn codi gyda'ch breintiau. Er mwyn pob peth sydd bwysig, gwyliwch rhag i'r achwyniad hwn fod yn wir am danoch, "Ni chadwasant gyfammod Duw, eithr gwrthodasant rodio yn ei gyfraith ef."

Mae iaith y Bibl wrth sôn am hiliogaeth pobl dduwiol yn gadael Duw, yn dangos hyny fel anniolchgarwch, digywilydd-dra, ac anghyfiawnder o'r fath waethaf, sydd yn cyffroi yr Arglwydd yn fawr. Dyma y nôd du a osodir ar y brenin Ahaz, "Efe a ddigllonodd Arglwydd Dduw ei dadau;" a dyna y rheswm a roddir am fod chwech ugain mil o'i ddeiliaid, a hwynt oll yn feibion grymus, yn cael eu lladd â'r cleddyf mewn un diwrnod, —"Am iddynt wrthod Arglwydd Dduw eu tadau!" Blant crefyddwyr! mae Duw a'i eglwys yn dysgwyl wrthych; mae llwon ac addunedau Duw arnoch: a gwae, gwae chwi, os trowch yn anffyddlawn a bradwrus i achos y gwirionedd. O! y geiriau arswydlawn hyny a ddaethant allan dros wefusau Gwaredwr!—"Plant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch eithaf." Y mae yn ddu iawn ar bawb yn uffern; tywyllwch dudew, heb obaith am oleuni byth, yw cyfran yr holl golledigion; ond, "plant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch *eithaf*." Y rhai a wybuant am freintiau eglwys Dduw, ac a hyfforddiwyd gan rieni duwiol, ac wedi hyny a droisant oddiwrth y gorchymyn sanctaidd yr hwn a draddodwyd iddynt, hwynt-hwy a deflir i'r gell dywyllaf yn mro y fagddu. "Yno y bydd wylofain a rhincian dannedd, pan weloch Abraham, ac Isaac, a Jacob, a'r holl brophwydi," eich henafiaid sanctaidd a'ch pregethwyr duwiol, "yn nheyrn-

)duw, a chwithau wedi eich bwrw allan!"—hwy yn u mewn gwynfyd, a chwithau yn ochain mewn gwae, yny am dragywyddoldeb! O Arglwydd, achub blant weision! Yn ol dy addewid, tywallt dy Ysbryd ar Sïon, a'th fendith ar ei hiliogaeth! Llawenydd vr genym yw gweled cynifer o blant ac ieuenctyd ein lwysi, ymysg dosbarthiadau eraill, wedi profi mor ɿeth o nerthoedd yr adfywiad presennol ar grefydd ein gwlad; ac nis gallwn edrych ar hyn ond fel un arwyddion mwyaf gobeithiol am ddaioni a llwyddiant eu Cymru yn yr oes a'r oesoedd nesaf. Ni a obeith-ac a weddïwn na welir neb o'n cyfeillion ieuainc li dechre fel hyn yn yr Ysbryd, yn diweddu eto yn y wd. "Nac ymado," medd Solomon, "â'th gydymaith hun, ac â chydymaith dy dad." Hen gyfaill dy dad, a pha un y cafodd efe lawer cyfrinach felus, yr hwn d yn cyfranogi o'i lawenydd ac o'i alar, a'r hwn y dit tithau pan yn fachgen bach yn edrych i fyny ato a hoffder, ac yn ymloni yn y sylw a wnai ef o honot, s yw hwnw yn fyw yn awr, paid, er dim, ag ymddwyn angharuaidd ato ac yn ysgafn o hono. Nid oes gan y ɔ hwnw un gwir barch i goffadwriaeth ei dad a hun-, os yw yn gallu anmharchu hen gydymaith ffyddlawn ɔ sydd yn fyw ar ei ol. Gallwn ninnau heddyw rch llawer un o'n cydnabod, gan ddywedyd wrtho am uw yn Nghrist, Cydymaith dy dad ydoedd—cydymaith dad! Yr Hwn a'i harweiniodd ef ymhob dyryswch, cynnaliodd dan bob profedigaeth, a'i dyddanodd hob gorthrymder, ac nas gadawodd ef yn ei gyfyng olaf ;—ïe, yn yr Hwn y mae ei gorff yn awr yn huno, a da yr Hwn y mae ei enaid yn awr yn ddedwydd ydymaith dy dad! nac ymâd âg ef. Ni raid byth h well cydymaith i ti na Iesu Grist, cydymaith dy !—Ond ymhellach,—

'r oedd meddwl am y ffafr a'r gymwynas fawr a gafodd oddiwrth Dduw yn bersonol, yn cymhell y Salmydd y modd gwresocaf i'w wasanaethu: "dattodaist fy ymau." Yr un peth, fel y tybygem, a olygir ganddo h hyn â'r waredigaeth a ddynoda yn nechre y Salm. ofidion angeu a'm cylchynasant, a gofidiau uffern a'm iasant; ing a blinder a gefais." Beth oedd y cyf-;der neillduol yr oedd Dafydd y pryd hyn ynddo, nis

gallwn sicrhâu; ond fe dybir yn gyffredin mai rhyw afiechyd blin a pheryglus ydoedd, yr hwn a'i dygodd i fin angeu—ymha un yr oedd ei gorff mewn dirfawr boenau, tra ar y pryd nad oedd un wawr o gysur yn llewyrchu ar ei ysbryd. Yn y cyfryw amgylchiad, fe lefodd o'r dyfnder ar ei Dduw. "Yna y gelwais ar enw yr Arglwydd, Attolwg, Arglwydd, gwared fy enaid!" A wrandawodd Duw ar dy lef? O do! "dattodaist fy rhwymau." Y gofidion angeu, a'r gofidiau uffern, oedd fel cadwynau yn fy rhwymo, gorff a meddwl, dattodaist hwy, ac a'm rhyddhëaist; adferaist fi o byrth y bedd, a throaist fy ngalar yn llawenydd i mi. Ac yr wyf bellach am dy wasanaethu weddill fy oes yn well nag erioed. "Dy was di, ïe, dy was di ydwyf fi; dattodaist fy rhwymau." Cawn ef yn synio ac yn ardystio yn gyffelyb mewn adnodau eraill o'r Salm: "Dychwel, O fy enaid, i'th orphwysfa, canys yr Arglwydd fu dda wrthyt. O herwydd i ti waredu fy enaid oddiwrth angeu, fy llygaid oddiwrth ddagrau, a'm traed rhag llithro; rhodiaf o flaen yr Arglwydd yn nhir y rhai byw. Fy addunedau a dalaf i'r Arglwydd, yn awr yn ngwydd ei holl bobl ef."

Y mae trugareddau a gwaredigaethau Duw yn alwadau uchel a nerthol arnom i'w addoli a'i wasanaethu; a rhaid ein bod dan lywodraeth caledrwydd calon diedifeiriol os ydym heb wybod fod daioni Duw yn ein tywys i edifeirwch. Ymhob cynnulleidfa, fe allai na cheir ond ychydig iawn o bobl a'r na waredwyd allan o gyfyngderau a pheryglon, pan yr oeddynt wedi ofni y darfuasai am danynt. Mynych yr ydym yn cyfarfod â rhai a fuont yn agos i angeu, yn crynu ar fin tragywyddoldeb; yno yn wylo a gweddïo, ac yn addunedu, os arbedid eu heinioes, y byddent byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awr hon. Wel, fe'u gwaredwyd hwy, pan yr oedd eraill o'u hamgylch yn syrthio i'r bedd. A pha beth fu y canlyniad? A gafodd Duw hwy yn ffyddlawn yn ol eu haddunedau iddo? ai ynte a ydyw y mwynder crefyddol wedi ymado fel cwmwl y bore ac fel gwlith boreuol? A! ni a wyddom am lawer un ag yr oedd mesur ei grefydd yn cael ei reoleiddio gan fesur ei glefyd; yr oedd ei weddi yn gwresogi ac yn oeri gyda'i lycheden—ei deimlad da yn codi ac yn gostwng gyda'i *bulse;* fel yr oedd ei gorff yn iachâu, yr oedd ei ysbryd yn ymiachâu

hefyd; a'i gyfodiad o'i wely ydoedd, fel y sylwa un, yn adgyfodiad i'w bechodau. O dwyll y galon! "Ai hyna delwch i'r Arglwydd, bobl ynfyd ac anghall?" Ond nid fel hyna, ni a welwn, yr oedd y Salmydd: yr oedd egwyddor o ddiolchgarwch i Dduw am ei waredu yn ei gynhyrfu i sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb. Wrth ddattod rhwymau angeu oddiarnaf, yr wyt ti, fy Nuw, wedi gosod rhwymau newyddion o ufudd-dod arnaf; dy was, dy was di ydwyf fi!

Ond ni a allwn hefyd edrych ar yr ymadrodd, "Dattodaist fy rhwymau," yn ngoleuni y Testament Newydd, a'i ddefnyddio am ryddhâd ysbrydol pechadur oddiwrth rwymau euogrwydd ac arglwyddiaeth pechod, ymha rai y mae pob dyn wrth natur yn gaeth. Gallasai y Salmydd ddywedyd, Nid effaith rhagorfraint cenedlaethol na magwraeth grefyddol yn unig yw fy mod i yn dy wasanaethu; ond ti, O Arglwydd, a wnaethost y drugaredd fwyaf â mi yn bersonol. Achubaist fy enaid yn nhrefn dy ras; ti a'm prynaist, O Arglwydd Dduw y gwirionedd; ac am hyny dy eiddo di ydwyf yn dragywydd. Mab dy wasanaethwraig, ac fel y cyfryw fe'm hyfforddiwyd yn nefodau dy wasanaeth; dattodaist fy rhwymau, ac felly fe'm cynnysgaethaist âg ysbryd y gwasanaeth.

Mae yn rhaid rhyddhâu pechadur ymlaenaf oddiwrth rwymau euogrwydd, neu rwymau melldith deddf Duw, cyn y gwelir ef byth yn gwasanaethu yr Arglwydd mewn gwirionedd. Heb hyny, ni bydd ganddo galon i feddwl am wasanaethu Duw, ac ni dderbynid ei wasanaeth er iddo ei gynnyg. Tybier fod milwr a fyddai yn perthyn i'r gwarchodlu breninol, wedi troi yn deyrnfradwr, ac yn anelu ryw ddiwrnod at fywyd y Frenines, ac iddo lwyddo i ffoi i rywle cuddiedig, a'i fod yno ymhen enyd yn dechre edifaru am a wnaeth, ac yn dywedyd, Gwasanaethu fy Mrenines yn ffyddlawn a ddylaswn i, ac a ddylwn wneuthur eto; nid yw fy mywyd o un lles mewn lle dirgel fel hyn; myfi a äf yn ôl i wasanaethu y Goron drachefn;— oni ddywedid, Gwasanaethu y Goron yn wir! Nid oes ar ein Brenines urddasol ddim eisieu gwasanaeth dy fath; y mae'r gyfraith yn gofyn am dy fywyd; mae swyddogion gyda chyhoeddiadau a gwarantau allan ar dy ol; mae holl rym yr orsedd yn cael ei osod yn dy erbyn. Na feddwl yn awr am wasanaethu y Frenines; ei phardwn hi bellach yn unig a all dy achub. Dyna yw sefyllfa dyn

fel pechadur: mae yn euog o deyrnfradwriaeth yn erbyn Brenin nef a daear; mae wedi myned yn ôl am ogoniant Duw, ac wedi estyn llaw yn ei erbyn; a lleferydd y ddedf tuag ato yw, "Gan farw ti a fyddi farw!" Mi ddylwn i wasanaethu fy Nghrëawdwr, medd y pechadur, ar ryw an bruddaidd arno; mi ddylwn fyw yn dduwiol. Gwir iawn; y mae yn ddiammheuol fod hyny yn ddyledswydd arnat; ond gan dy fod yn droseddwr yn erbyn deddf y nefoedd, y mae yn weddus i ti feddwl am beth arall ymlaenaf. Yr wyt yn rhwym gan euogrwydd i dân uffern; ac yn y fath gyflwr, ofer i ti sôn am wasanaethu yr Arglwydd; y peth goreu a elli di wneyd i gychwyn yw ymofyn am faddeuant. Nid oes ond un o ddau beth i ti ddysgwyl o'r orseddfainc uchod,—gweithred o ryddhâd, neu warant o ddienyddiad. Ac O! bendigedig fyddo enw Duw! "Gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbyn." Tyred yn edifeiriol at Dduw yn droseddwr diesgus fel yr wyt, a gofyn am dy fywyd yn enw Aberth Calfaria, yr hwn mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol; a thi a gei ddianc byth gan dy Farnwr. Ac wedi derbyn gollyngdod trwy waed ei groes Ef, byw iddo ef, yr hwn a fu farw drosot, ac a gyfodwyd, a fydd dy hoff orchwyl mwyach. O Arglwydd Ior, yr hwn y mae gyda thi faddeuant fel y'th ofner, maddeu i ninnau yr holl anwiredd, ac yna tydi yn unig a wasanaethwn!

Ynglŷn â hyn, mae'r pechadur yn cael ei ryddhau oddiwrth rwymau arglwyddiaeth pechod, neu o gaethiwed chwantau cnawd a byd, a maglau y diafol. Dyna rwymau sydd yn dal dyn wrth natur mor gaeth fel nas gall mewn modd yn y byd ymuniawni. O mae yn resyn meddwl am lawer mab i wasanaethwr neu i wasanwraig Duw, yr hwn yn lle bod yn ŵr rhydd i'r Arglwydd, sydd fel Samson wedi myned yn rhwym mewn gefynau prês, ac i'w weled yn malu yn ngharchardŷ llygredigaeth. Mae rheswm a chydwybod, addysg a chynghor, trugaredd a barn, yn llefaru yn ofer wrtho; ni chaiff wrandaw arnynt; caethwas isel ydyw; mae yn rhaid iddo wneuthur fel y myno ei chwantau. Ond y mae yn hyfryd genyf hysbysu fod y Prophwyd mawr sydd yn Sïon wedi ei eneinio a'i anfon i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym. Ac mi glywaf un hen garcharor yn bloeddio yn llawen wedi dyfod yn rhydd,

"Deddf Ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhäodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth!" Os oes rhyw bechadur y dyddiau hyn yn dechre anfoddloni ar yr hen wasanaeth, mae Satan mewn perygl o golli hwnw yn fuan. Os yw dy bechod yn dyfod yn faich ar dy feddwl, dyna argoel fod dy gadwynau yn dechre myned yn rhyddion. Ocheneidia am drugaredd o'r fan lle yr wyt; o herwydd y mae ein Duw ni yn "edrych o'r nefoedd ar y ddaear, i wrandaw ochenaid y carcharorion, ac i ryddhâu plant angeu." Ac y mae yr un orchwyliaeth ag sydd yn "rhyddhâu oddiwrth bechod," yn gwneuthur y rhai a ryddheir "yn weision i Dduw," ac yna bydd iddynt "eu ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol."

Bellach, mewn ffordd o derfyniad, ni a gyfeiriwn rai sylwadau cymhwysiadol at wahanol ddosbarthiadau.

Na ddigaloned y rhai hyny na chawsant y fantais o feddu rhieni crefyddol, ac a allant fod ar brydiau yn teimlo yn llwfr o'r herwydd. "Na lefared y dyeithrfab, yr hwn a lynodd," neu yr hwn a ddymunai lynu "wrth yr Arglwydd, gan ddywedyd, Yr Arglwydd gan ddidoli a'm didolodd oddiwrth ei bobl." Ië, medd rhywun, nid oedd genyf fi na mam na thad i'm hyfforddi yn mhethau crefydd; ar dir cyffredin y byd annuwiol y magwyd fi; ac felly nis medraf ddyweyd wrth Dduw, "Mab dy wasanaethwraig;" a oes sail a chalondid i un fel myfi i ddychwelyd at yr Arglwydd? O oes, oes! mae y Duw trugarog a graslawn yn foddlawn i dderbyn y rhai sydd wedi eu gadael fel cywion yr estrys, heb neb yn ymofyn am eu henaid. Mae llawer oedd yn yr un sefyllfa amddifad a thithau, wedi cael eu dwyn adref at Dduw. Cofia am Abia: fe gafwyd ynddo ef beth daioni tuag at Arglwydd Dduw Israel yn nhŷ Jeroboam, y pen campiwr yn ngwaith y diafol, yr hwn a wnaeth i Israel bechu. Ac y mae lliaws yma a thraw yn Nghymru o rai a ddygwyd i fyny yn estroniaid i ammodau yr addewid, wedi eu gwneuthur yn ddiweddar yn gyd-ddinasyddion â'r saint ac yn deulu Duw. Er na chefaist y fraint fawr o fod yn blentyn i rieni duwiol, mae y ffordd yn awr yn rhydd i ti, ie i ti, fod yn blentyn i'r Arglwydd hollalluog. Beth bynag oeddit, a pheth bynag ydwyt, tafl dy hunan ar drugaredd Duw yn Nghrist, a chadwedig a fyddi. O ni a wyddom am lawer tad gwir grefyddol sydd yn fyw heddyw, yr hwn a fag-

wyd yn blentyn i rieni anghrefyddol. Er ei fod gynt wedi ei ddyeithrio oddiwrth wladwriaeth Israel Duw, fe ymaflodd felly yn y cyfammod newydd, ac y mae hwnw yn [illegible] am dano ef a'i had hefyd. Dyma gymhelliad cryf i rai sydd hyd yn hyn yn ddyeithriaid i Grist a'i achos, i roddi eu hunain i Dduw yn nhrefn ei ras. Nid yw yr Arglwydd byth yn dywedyd wrth bechadur rhyfygus, wrth feddwyn neu halogwr sabbath, nac wrth un tad na mam anedifeiriol, "Mi a fyddaf yn Dduw i ti ac i'th had." Na! "melldith yr Arglwydd sydd yn nhŷ yr annuwiol." Ond os dychwel y cyfryw ato Ef, yna fe fydd rhwym cyfammod Duw am danynt hwy ac am eu had. Moliannus fyddo enw y Duw sydd yn chwilio am le i drugarhâu!

Wrth y rhai a fagwyd yn ngwasanaeth tŷ yr Arglwydd, ond a droisant yn anffyddlawn i'w Duw, ac a werthasant eu genedigaeth-fraint, mae yn dda genyf allu dywedyd nad yw eu hadferiad yn ddiobaith, er y gall hyny fod yn awr yn dra annhebyg. Er mor dorcalonus i ni yw eu gweled fel y maent, eto nis rhoddwn hwynt i fyny yn ein dysgwyliadau, o herwydd y mae ein Duw ni heb roddi i fyny alw ar eu hôl. Dyma ei alwad rasol ef ar ol y rhai a enciliasant o'i dŷ, "Ymchwelwch, feibion gwrthnysig, a mi a iachâf eich gwrthnysigrwydd chwi." Os yw yr afradlawn yn blino ar y wlad bell, gall fod yn felus iddo glywed fod y Tad yn barotach i'w dderbyn ef adref nag ydyw efe i wynebu yno yn ôl. Myfi a ddarllenais, a chwithau a ddarllenasoch yn ddiau, am fab i ŵr duwiol iawn a drôdd allan yn hynod annuwiol. Yr oedd efe mewn sefyllfa uchel o ran pethau y byd, ac fe ddefnyddiodd ei uchafiaeth i fod yn orthrymwr creulawn ar ei gyd-ddynion, ac yn erlidiwr arswydus ar wir grefydd. Ond dacw y rhôd yn troi arno, a hyny mor brysur ac mor nerthol nes y dymchwelwyd ef o urddas a mwyniant ei balas i fod yn garcharor mewn cadwynau. Yno, yn ei gyfyngder mawr, efe a gofiodd am Dduw ei dad, ac a ddechreuodd weddïo o ddifrif arno. Ac ni weddïodd y fath adyn â hwn yn ofer; o herwydd fel hyn y dywed y Bibl—ac yr ydych wedi deall eisoes mai at hanes ysgrythyrol yr ydym yma yn cyfeirio: "Pan oedd gyfyng ar Manasse, efe a ymostyngodd yn ddirfawr o flaen Duw ei dadau, ac a weddïodd arno ef; ac Efe a fu foddlawn iddo, ac a wrandawodd ei ddymuniad ef." O Arglwydd, pa Dduw sydd fel tydi yn

maddeu anwiredd? Diolch am y gallwn wahodd yn hyf, heb betruso dim,—

> **“Afradloniaid, at eich Tad, deuwch, deuwch!**
> **Fe rydd i chwi bardwn rhad; O dychwelwch!**
> **Dowch, gofynwch am ei hedd, gan gyfaddef;**
> **Cewch y fodrwy, cewch y wledd; deuwch adref!”**

Blant crefyddwyr, sydd yn aros yn nhŷ yr Arglwydd, gan flodeuo yn nghynteddoedd ein Duw, nis gallwn ond eich llongyfarch chwi. Mwy llawenydd na hyn nid oes genym, na gweled a chlywed fod y plant a feithrinwyd yn eglwys Dduw yn rhodio mewn gwirionedd. Mawrhewch eich braint. Aroswch yn y pethau y'ch dysgwyd. Cloddiwch ac ewch yn ddwfn am sylfaen safadwy i'ch crefydd. Bydded yn ddiammheuol i'r eglwys, ac i'r byd, fod ynoch y ffydd ddiffuant. Edrychwch arnoch eich hunain ymhob man fel eiddo Duw. Ffowch oddiwrth chwantau ieuenctyd. Ymgedwch yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd. Ymarferwch eich hunain i dduwioldeb. Meddyliwch am fod yn ddefnyddiol yn eich oes. Rhoddwch eich hunain bob dydd i'r Hwn a ddichon eich cadw chwi yn ddigwymp, a'ch gosod ger bron ei ogoniant ef yn ddifeius mewn gorfoledd.

Yn olaf, mae pob un sydd yn gwrandaw yr efengyl, ac yn wir pob un sydd yn ein gwlad, beth bynag am ei hyfforddiad boreuol, neu ei gysylltiadau perthynasol, neu ei oedran, neu unpeth o'r fath, i gael ei restru yn un o'r ddau gymeriad pwysig yma:—“Yr hwn a wasanaetho Dduw, a'r hwn nis gwasanaetho ef.” Pa un o'r ddau enwad sydd yn perthyn i ti, fy enaid? Nid ydwyf fi, medd rhywun, yn arfer cablu Duw. A wyt ti yn ei wasanaethu ef? Nid ydwyf yn erlidiwr ei achos. A ydwyt yn ymdrechu i ddwyn ymlaen ei achos? Pwylla ac ystyria, a gâd i'th gydwybod ateb yn onest: pa un o'r ddau nodweddiad yw yr eiddot ti—ai yr hwn a wasanaetho Dduw, ai ynte yr hwn nis gwasanaetho ef? Mae rhagor dirfawr yn bod yn awr, ac fe fydd rhagor anfeidrol i'w weled yn fuan, rhwng y ddau hyn. Fe fyn Duw arddelwi ac anrhydeddu ei weision ef yn ngwydd nefoedd, daear, ac uffern; ac fe fyn hefyd ddial yn gyhoeddus ac yn llwyr ar y rhai na fynent iddo ef deyrnasu arnynt. Rhodder y ddoethineb i ni oll i ddewis yn Arglwydd ac yn Dduw yn awr yr Hwn y dymunem gael ein harddel ganddo ddydd y farn!

# PREGETH XXVII.

## NOD Y CRISTION.

GAN Y PARCH. RICHARD PARRY, LLANDUDNO.

"Yr ydwyf yn cyrchu at y nôd, am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu."—PHILIPPIAID iii. 14.

Y MAE y geiriau hyn yn dangos y cysylltiad sydd rhwng bywyd y Cristion yn y byd hwn, a'r dyben y mae yn ymestyn ato yn y byd a ddaw. Y maent yn dangos mai cyrhaedd y perffeithrwydd a fwynhëir yn yr orphwysfa sydd eto yn ôl i bobl Dduw oedd y prif nôd a feddiannai galon yr Apostol, er ei argyhoeddiad cyntaf, ac mai yr un nôd a barhâi i lywodraethu ei feddwl pan yr ysgrifenai y geiriau hyn; ac mai ei benderfyniad rhagllaw ydoedd, na chai dim ei guddio allan o'i olwg, hyd nes y byddai wedi cael gafael arno. Ystyrir tröedigaeth Saul o Tarsis yn un o'r rhesymau cryfaf dros ddwyfoldeb Cristionogaeth. Y mae yn dangos, fod yn rhaid i genadwri a effeithiai y fath gyfnewidiad fod yn rhywbeth amgen na dim dynol. Os edrychwn ar y nawfed, a'r chweched bennod ar hugain, o'r Actau, mewn cysylltiad â'r bennod hon, ni a gawn grynodeb o hanes amgylchiadau ei ddychweliad. Ni a'i canfyddwn yn ddyn ieuanc gwybodus, dysgedig, cyfrifol ymysg ei genedl, a thra eiddigeddus dros egwyddorion y grefydd a broffesai. Yr oedd yn ystyried erlid crefydd Crist y gwasanaeth penaf a allai gyflawni, er lles ei genedl ac anrhydedd ei Dduw. Yr oedd fel pe buasai wedi gwneyd diofryd na chai dim a allai efe ei wneyd tuag at olchi ymaith holl hanes Cristionogaeth oddiar lyfrau coffadwriaeth y byd, fod heb ei gwblhâu. Pa fodd bynag, ar un diwrnod penodol, ar hanner dydd, pan yr ydoedd ar ei daith, ar y ffordd oedd yn arwain at Damascus, lle yr oedd ychydig nifer o dduwiolion wedi ymgynnull, ag y penderfynai eu carcharu a'u dyfetha; gyda ei fod wedi dyfod i olwg muriau y ddinas, tra yr oedd yn

chwythu bygythion a chelaneddau, fel gwiber beryglus ar yr heol, wele Iesu Grist yn agor ffenestr yn y nef, ac yn gollwng un pelydryn o'i ogoniant i dywynu ar ei galon; a dacw ef yn syrthio ar lawr ar unwaith, ac yn gwaeddi allan, Pwy wyt ti, Arglwydd? Pa beth a fyni di i mi ei wneuthur? Gwelodd ei golledigaeth; teimlodd ei anobaith am iachawdwriaeth ynddo ei hun, ac yn ei holl ragoriaethau a'i gyflawniadau crefyddol. Pan y cododd yn ystorm ar ei lestr, taflodd ei holl rinweddau dychymygol dros y bwrdd i'r môr; a gorphwysodd ar y dystiolaeth am Grist, yn unig, ac yn gwbl oll, am ei fywyd; a gwaeddodd allan, "Ac y'm caffer ynddo Ef, heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith." Ac y mae yn dangos yma, mai yr un penderfyniad oedd yn aros yn ei feddwl hyd y pryd hwn, ac mai nid cyffröad byrbwyll y moment ydoedd, ond mai yr un argyhoeddiad pwyllus a arosai yn ei feddwl wedi hir flynyddoedd o brawf. "Ië yn ddiammheu," meddai, "yr *ydwyf* yn cyfrif pob peth yn golled er mwyn ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd." Yr un nôd hefyd a benderfynai gadw mewn golwg rhagllaw, yn ol geiriau y testun,—"Yr ydwyf yn cyrchu at y nôd," ac ni chollaf fy ngolwg arno nes ei gyrhaedd yn deg.

Dengys yr ymadrodd hefyd mai prif orchest a champ y Cristion ydyw cyrhaedd y nôd hwn. Y perffeithrwydd sydd yn Nghrist ydyw ei nôd uchaf, ac ymegnïo am ei gyrhaedd ydyw prif ymdrech ei fywyd. Y mae y nôd hwn yr ochr draw i'r bedd—"adgyfodiad y meirw," ac y mae yntau yn cael ei ystyried fel teithiwr, neu yn hytrach yn debyg i redegwr yn yr ymrysonfa am y gamp, yn cyrchu trwy bob anhawsder tuag ato. Fel y cyfryw, y mae yn wrthddrych sydd yn denu sylw y bydoedd; y mae "wedi ei wneuthur yn ddrych i'r byd, i angelion, ac i ddynion." Y mae llygaid cwmwl o dystion arno yn barhâus. Y mae angelion yn gwylio ar ei gamrau, ac y mae diaflaid yn dysgwyl am ei gwymp! Ond yn nghanol yr holl edrychwyr; er cymaint y crechwen a'r pryder sydd gan bleidiau o wahanol olygiadau yn ei gylch, y mae efe yn cadw ei olwg yn gywir at y nôd, ac y mae yn cael ysbrydoli ei deimlad â'r gobaith o gael gweled y dydd, pan y bydd wedi ei wneyd yn fwy na choncwerwr trwy yr Hwn a'i carodd!

Wrth gyfeirio at NOD Y CRISTION, gellid sylwi, *fod rhyw brif nôd*, neu brif egwyddor, *yn llywodraethu calon pob dyn;—nad oes ond dau brif nôd yn meddiannu y llywodraeth yn nghalon pob dyn*, da neu ddrwg;—*er nad yw y duwiol na'r annuwiol yn cyrhaedd perffeithder eu nôd yn y byd hwn, y bydd y naill a'r llall yn sicr o'i gyrhaedd yn y byd a ddaw*;—ac ymhellach, *nad oes yr un nôd yn deilwng o gael y lle uchaf yn nghalon creadur sydd i fyw byth*, ond "camp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu."

I. FOD RHYW BRIF NOD YN LLYWODRAETHU CALON POB DYN.

Y mae gwrthddrychau yn ddirifedi yn cynnyg eu hunain i sylw dynion, ond daw y cyfan i mewn dan un o ddau nodwedd. Y mae llïaws o bethau yn ymwneyd am sylw y dyn duwiol, fel yr annuwiol, ond nid ydyw ef yn edrych arnynt ond fel îs-ddybenion a phethau amgylchiadol. Y mae dylanwad cryf gan ddygiad i fyny, ac y mae effeithioldeb pwysig gan hudoliaeth cyfeillion, a chan serchogrwydd perthynasau ato; eto nid oes ond un egwyddor yn meddiannu yr orsedd yn y galon. Fel eglurhâd o hyn, gellid cyfeirio at "y gŵr ieuanc yn yr efengyl." Yr oedd yn gyfoethog iawn, a'i galon yn llawn o fydolrwydd. Pa fodd bynag, daeth unwaith i feddwl yn ddifrifol am grefydd, ac a aeth i'r unig fan, sef at y Gwaredwr ei hun, i ymofyn yn ei chylch; a dywedodd wrtho, "Athraw da, beth sydd raid i mi ei wneuthur fel yr etifeddwyf fywyd tragywyddol?" Dyna ofyniad i'r byw! Gwyddai y Gwaredwr pwy ydoedd, ac ar ba wrthddrychau yr oedd ei galon yn gweithredu, ac atebai iddo, wedi ychydig o ymddyddan, "Dos, gwerth yr hyn sydd genyt, a dyro i'r tlodion, a thi a gei drysor yn y nef; a thyred, canlyn fi." Yn awr, dyna yr ymryson yn dechreu yn ei feddwl rhwng y ddau nôd, sef y *trysor yn y nef*, a'r *trysorau oedd ganddo ar y ddaear*. Y mae yn eu pwyso yn fanwl, ac yn dyfalu yn bryderus am eu gwerth. Y mae yna "dyrfa dau lu" mewn rhyfel â'u gilydd am y deyrngadair yn ei galon. Daw y brif egwyddor sydd yn llywyddu ei feddwl yn fuan i'r golwg. Wele y gŵr sydd yn caru y byd, a serch at ei drysorau yn y galon, yn troi yn fuan at yr eiddo, ac yn myned oddiwrth y Gwaredwr yn athrist!

Y mae rhyw egluriad o hyn i'w weled yn yr Afon Oregon, yn yr Amerig. Dywedir fod llifeiriant yr afon

hono yn cael ei wasgu i le cyfyng iawn, ychydig cyn ymarllwys i'r môr, ac y bydd ei nerth mor ofnadwy yn amser dad-dymheriad rhew y mynyddoedd, fel yr ysguba bobpeth a ddelo ar ei gyfer, gan nerth ei ruthr; ond bydd llanw y môr yn rhedeg mor gryf yn erbyn ei lif, ar rai prydiau, fel y bydd yno ymryson dychrynllyd, ac y byddant yn lluchio eu tonau gyda'r fath gynddaredd, fel na faidd y morwr gyfeirio ei lestr yn agos i'r terfynau. Bydd yn anhawdd iawn dychymygu, am beth amser, pa un o'r ddau lifeiriant a orfydda yn y diwedd. Ond ni raid aros yn hŵy na thröad trai y môr, na welir yr afon yn cael ei ffordd ei hun yn gwbl oll. Felly y mae llawer pechadur, heb blygu i Grist, dan effeithiau dylanwad nerthol y weinidogaeth. Gellir dywedyd am dano tra y byddo dan yr argyhoeddiad anmhenderfynol, "Nid wyt ti bell oddiwrth deyrnas nefoedd." Ond wedi i dymherau oeri, ac wedi i fydolrwydd gadarnhâu ei orsedd yn y galon, dacw y teimladau yn colli; a'r ymryson yn darfod; a'r cryf arfog yn cadw ei neuadd yn ddigon tawel, mewn cyflawn feddiant, iddo ei hun. Myn y prif nôd ei le.

II. Nad oes ond dau brif nod yn meddiannu y llywodraeth yn nghalonau holl ddynion y byd.

Y mae yr egwyddor sydd yn llywodraethu calonau dynion, yn cyfeirio at ryw nôd yn y nefoedd, neu ar y ddaear —at sancteiddrwydd neu at bechod. Y mae y naill yn arwain i'r nef, a'r llall yn llusgo i uffern. Y mae dau fyd, a dim ond dau, a chanddynt ddylanwad o attyniad cryf ar galon pob dyn ar y ddaear. Y mae purdeb y nef yn tynu ato ei hun bobpeth sydd o'r un elfen ag ef ei hun, ac y mae llygredigaeth trueni yn tynu ato yntau bob peth sydd o'r un duedd ag ef. Y mae y ddau fyd am ein hennill oll.

Nid oes ond *dau gymeriad* yn ngolwg Duw, sef y cyfiawn a'r drygionus. Ond i olwg dynion, y mae y byd yn ei ranu ei hun i *dri* dosbarth, sef y *duwiol*, yr *annuwiol*, a'r *ammheus*. Y mae rhai dynion yn "dangos yn eglur eu bod yn ceisio gwlad;" y mae eraill yn cael eu hynodi am eu hannuwioldeb, ac felly yn dangos yn eglur pwy ydynt; ond y mae eraill ag y metha y goreu o ddynion wneyd cymeriad iddynt,—"nid ydynt nac oer na brwd." Yr ydym yn adnabod y cyntaf yn dda, oblegid fod ei ddarlun wedi ei dynu allan â phwyntil anffaeledig yn ngair Duw.

"Dafydd, gŵr wrth fodd calon Duw," dyna y darlun. Felly yr ydym yn adnabod y llall. "Jeroboam, yr hwn a ddysgodd i Israel bechu," dyna ei ddarlun yntau; ac y mae llinellau a lliwiau y portrëad mor gryf, fel nad ellir camddeall am dano. Ond y mae rhai eraill, fel y darluniad am Ephraim, "fel teisen heb ei throi"—heb fod na bara na thoes—heb fod yn eglur gyda Christ, nac yn amlwg gyda Belial, ag y mae yn anhawdd gwneyd cymeriad iddynt. Y mae y cywir weithiau yn cael ei gylchynu â'r fath wendidau, fel yr ydym yn methu ei adnabod; ac y mae y rhagrithiwr, ar brydiau, yn gallu ymddangos mor drwsiadus a thebyg i'r cywir, fel yr ydym yn methu ei adnabod yntau. Mynai yr angelion gasglu ymaith yr efrau o'r maes gwenith, cyn y cynauaf, ond ni chaniatëid iddynt, rhag nad oedd eu llygaid hwy yn ddigon craff i adnabod y gwahaniaeth rhwng y naill a'r llall.

Ond er y gall y byd ymddangos megys pe byddai yn dri dosbarth, i olwg dyn, eto ni all fod ond *dau* yn ngolwg Duw. Y mae Efe yn craffu ar y galon, ac nid ar y golwg. Gŵyr Ef beth sydd mewn dyn. Y mae pob meddwl yn noeth ac yn agored ger ei fron Ef. Er fod llawer ag y byddwn ni yn methu gweled rhagor rhwng y naill a'r llall, y mae Efe yn canfod y fath wahaniaeth rhyngddynt, fel y mae yn gweled yn briodol anrhydeddu y naill â bywyd tragywyddol, a chosbi y llall â cholledigaeth dragywyddol; a hyny mewn perffaith uniondeb, heb dderbyn wyneb, na gŵyro barn.

Y mae yn amlwg mai y *prif nôd a fyddo yn llywodraethu y galon sydd yn ffurfio y cymeriad.* Y mae yn eglur mai dyn sydd yn ffurfio ei gymeriad ei hun. Pan y sonir am gymeriad Duw, nid ydym i olygu ei fod ef yn ei ffurfio. Yr hyn ydyw Duw, ydyw ei gymeriad. Ni all fod ond yr hyn ydyw. "Duw, cariad yw." Ond y mae dyn yn gweithio allan ei gymeriad ei hun. Bywyd, egwyddorion, a theimladau dilynol dyn, sydd yn creu delw ac argraff ei nodwedd. Nid yw colliadau y dyn duwiol, na rhinweddau yr annuwiol, ond eithriadau; a chan hyny, nid ydynt yn ffurfio cymeriad. Gall yr hael, dan ryw amgylchiadau, ymddwyn yn grintachlyd; neu y cybydd, weithiau, wneyd ambell weithred hael; ond nid y gweithredoedd damweiniol hyny, ond y fuchedd yn gyffredinol, sydd yn rhoddi yr argraff i'r cymeriad. Y mae dyn yn

ei ymddygiadau, drwy ystod ei dymmor ar y ddaear, yn cerfio iddo ei hun fold, i'r hon y mae yn tywallt ei holl deimladau a'i syniadau, fel y prês toddedig yn y bathdŷ, yr hyn sydd yn llunio holl agweddau ei fuchedd, ac yn ei gyfansoddi y peth ydyw mewn gwirionedd ger bron Duw.

Y mae yn amlwg mai *ei gymeriad ydyw yr unig feddiant sydd gan ddyn iddo ei hun yn y byd.* Ei eiddo ef ydyw, oblegid efe a'i gwnaeth. Eiddo benthyg yw pob peth sydd dan ei ofal, ond ei gymeriad. Efe a adawa ei feddiannau bydol i eraill yn fuan, ond ni adawa ei gymeriad ar ei ol i neb. Efe a ä â'i gymeriad gydag ef drwy angeu i glorian y farn. Amlwg yw na ddygasom ni ddim i'r byd, ac eglur yw na ddygwn ni ddim allan o hono, ond ein cymeriad. Y cymeriad yw y dyn. Nid oes ond dau fath o gymeriadau, mewn gwirionedd, ar y ddaear, ac ni bydd ond y ddau hyny yn y farn.

III. ER NAD YW Y NAILL NA'R LLALL O'R DDAU GYMERIAD HYN YN CYRHAEDD PERFFEITHDER EU NOD YN Y BYD HWN, BYDD POB UN O HONYNT YN SICR O'I GYRHAEDD YN YR HWN A DDAW. "Y brodyr," meddai'r Apostol, "nid wyf yn bwrw ddarfod i mi gael gafael" *eisoes*, ond yn unig un peth, sef y penderfyniad i gefnu ar bob peth sydd yn ôl, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen, gydag ymröad diorphwys i gyrchu at y nôd!

Nid yw ein sefyllfa bresennol yn gyflwr gorphenol. Nid yw ddim amgen nag ysgol barotöawl. Nid yw ond athrofa ddysgyblaethol. Nid yw ond llwybr y rhedegfa; y mae yr ael yr ochr draw.

*Nid yw y duwiol mor dduwiol ag y dymuna fod yma,* ond y mae yn ymwasgu drwy bob tyrfa, ac yn tori trwy bob rhwystr, gan gadw ei olwg yn deg at y nôd, er cyrchu ato. "Ant o nerth i nerth, ymddengys pob un ger bron Duw yn Sïon."

*Nid yw yr annuwiol mor ddrygionus ag y myn fod.* Y mae drwg ddynion a thwyllwyr yn myned rhagddynt waeth waeth, ond ni chyrhaeddant derfyn eithaf eu drygioni hyd nes y cyrhaeddont wlad y trueni. Fel y dywedir am y duwiolion, wedi cyrhaedd eu nôd, eu bod yn gydstad â'r angelion yn y nef, felly y gellir dywedyd am yr annuwiolion, eu bod yn gydstad â'r cythreuliaid yn uffern: yr un anian, a'r un duedd, a'r un llygredigaeth â hwythau!

*Yno fe welir pob un yn ei wir gymeriad,* ac *fe ymddygir at bob un fel y cyfryw.* Yr ydym ni yn nesâu at fyd, yn yr hwn y gwywa pob rhagrith yn ei awyrgylch pur. Rhagluniaeth sydd yn gweinyddu ar y ddaear, ac y mae hi yn aml fel pe byddai heb gydnabod yr un cymeriad yma. Y mae hi yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da. Ac nid yw yn gwneyd nemawr o sylw ar grefydd neb. Amynedd a thrugaredd sydd yma yn rheoli; ond yno, cyfiawnder ac uniondeb diwyrni fydd yn cymeryd eu ffordd. Cyfraith i'r llythyren fydd yno yn cael ei rhwysg at bawb; a'r peth a fyddwn ni wedi myned yno, unwaith, dyna a fyddwn ni byth mwy.

IV. NAD OES YR UN NOD TEILWNG O'R LLE PENAF YN NGHALON CREADUR RHESYMOL, OND CAMP UCHEL ALWEDIGAETH DUW YN NGHRIST IESU.

Gosodir ger ein bron yn yr ymadrodd hwn a'r cyddestun *y nôd,* y *ffordd i'w gyrhaedd,* a'r *gefnogaeth sydd genym i gyrchu tuag ato.*

Y nôd ydyw "*Duw yn Nghrist.*" Dyma yr unig nôd teilwng i ddyn gyrchu ato. Dyma yr unig fan y gallwn ni gyfarfod â Duw. Os edrychwn ato yn y grëadigaeth, y mae yn rhy uchel i ni—os edrychwn ato yn ei ragluniaeth, y mae yn rhy ddirgeledig i ni. Y mae ei ffyrdd yn y môr, a'i lwybrau yn y dyfroedd cryfion, fel na allwn olrhain ei symudiadau. Os edrychwn arno yn y gyfraith, y mae yn rhy danllyd i ni, oblegid ei burdeb a'i sancteiddrwydd difrycheulyd. Ond os edrychwn arno yn Nghrist, er ei fod yn dân ysol, ein Duw ni ydyw! Y mae felly yn briodol i ni nesâu ato, yn ol y mynegiad boreuol, "mi a gyfarfyddaf â thi yno." "Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun," ydyw hanfod gweinidogaeth cenadon yr efengyl. Yma yr ydym yn ennill pob peth gofynol arnom. Yr oedd tri pheth yn cael eu sicrhâu i'r buddugol yn y campau gynt, sef *cyfoeth, pleser,* ac *anrhydedd.* Beth oedd y cyfoeth? Coron o flodau, oedd yn gwywo yn y llaw cyn gorphen ei phlethu! Beth yw y cyfoeth sydd i'r credadyn yn Nuw yn Nghrist? Golud parhâus yn y nefoedd—coron anniflanedig gogoniant; *pleser,* fel afon o hyfrydwch didrai; *anrhydedd* a gynnwysa y derchafiad hwnw a sicrhëir i'r rhai trwy barhâu yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragywyddol!

Am *y modd i gyrhaedd y nôd,* dysgir ni i *anghôfio pob peth o'r tu cefn.* Tuag at gyrhaedd un wlad y mae yn rhaid cefnu ar y llall. Nid oedd modd cyrhaedd Canaan heb gefnu ar yr Aipht. Y mae yn rhaid i ni hefyd *fod ar yr iawn ffordd.* Nid yw cefnu ar yr hen wlad, a chychwyn am fro yr addewid yn ddigon, heb ddilyn ymlaen, ac ymgadw ar ganol llwybr barn, heb grwydro dim oddiar gyfeiriad y ffordd union i ddinas gyfanneddol. I gyrhaedd yr amcan hwn, y mae yn ofynol i ni *gadw ein golwg yn barhâus* at y nôd. Yr oedd y gwobrwywr yn y campau gynt yn sefyll ar yr esgynlawr, yn weledig i olwg y rhedegwr, â'r goron yn ei law. Er ysbrydoli ei benderfyniad, felly y mae y Gwaredwr yn sefyll ar orseddfainc y nef, â choron y gogoniant yn ei law, ac y mae yn gwaeddi yn glywadwy ar bob un, "Bydd ffyddlawn hyd angeu, a mi a roddaf i ti goron y bywyd!"

Y mae y *gefnogaeth sydd genym yn annogaethol iawn,* i ymorchestu am y nôd. Camp uchel alwedigaeth Duw ydyw! Y mae pob camp a fêdd y byd yn rhy isel i sylw penaf dyn. Y mae yr alwad yn *alwad Ddwyfol:* "Galwedigaeth Duw." Pan fo Duw yn galw, tawed y byd. Y mae yn alwad *gyffredinol i bawb:* "Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear." Y mae yn *alwad bersonol* i bob dyn:" Cymer gysur, y mae Efe yn dy alw *di.*" Y mae yn *alwad ddifrifol a diffuant:* "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, ond dychwelyd o hono oddiwrth ei ffyrdd drygionus a byw." Y mae yn *alwad bresennol:* "Heddyw, os gwrandewch arnaf, na chaledwch eich calonau." Y mae yn *alwad effeithiol,* canys bydd ei hol, mewn rhyw ffordd neu gilydd, ar bob un a'i clywodd. Y mae yn alwad *urddasol,* fel y mae yn alwad oddiwrth bechod at sancteiddrwydd, o'r byd i'r eglwys, ac yn y diwedd oddiar y ddaear i'r nef!

Dyma yr unig nôd a osodir ger ein bron yn y byd hwn, ag sydd yn werth i ni wneyd gorchest i'w gyrhaedd. "Am hyny," medd yr Apostol, "yr ydym yn *ymorchestu,* pa un bynag ai gartref ai oddicartref y byddom, ein bod yn gymeradwy ganddo Ef." Pe yr ennillai dyn bob gorchest berthynol i'r byd hwn, a cholli yr orchest yma, y mae yn syrthio yn ôl i siomedigaeth a thlodi. Pe llefarai dyn â thafodau dynion ac angelion—pe gwybyddai y dirgelion oll, a phe cyrhaeddai ben pinacl derchafrodd y

byd, ni byddai hyny yn y diwedd ddim amgen ei ddyrchafu yn uwch fel y byddai ei godwm yn îs!

*Fe fydd pob un o honom ni yn ngafael â'i brif nôd ar fyrder.* Duw yn unig a ŵyr pa mor fuan! Gŵyr teithiwr mewn gwlad ddyeithr amcan am nifer y cèryg milldir y byddo wedi eu pasio, ond ni ŵyr nemawr pa nifer sydd ymlaen; felly ninnau, y mae y cyfan sydd o'n blaen wedi eu goblygu i fyny mewn cymylau na allwn dremio trwyddynt, ond yn unig ar y nôd hwn sydd yn wastad ger ein bron!

*Os nad ydym ar yr iawn lwybr heddyw, nid yw yn rhy ddiweddar i droi:* "Gadawed y drygionus ei ffordd, a dychweled at yr Arglwydd."

*Y rhai sydd ar yr iawn ffordd, ymwrolwch.* Ymnerthwch yn y gras sydd yn Nghrist Iesu. Gwnewch y nôd mawr hwn yn un pwnc mawr eich oes. *Un peth* a ddeisyfodd Dafydd gan yr Arglwydd, a hyny a geisiodd. A dywed yr Apostol yma, "Y brodyr, nid wyf yn bwrw ddarfod i mi gael gafael, *ond un peth.*" A dywedodd y Gwaredwr mawr ei hun, mai *un peth sydd anghenrheidiol;* ac yn yr un peth hwn, y mae pob peth a fêdd y nef, a fêdd gogoniant, ac a fêdd tragywyddoldeb, yn gynnwysedig. Y mae modd i ni ei gyrhaedd i gyd. Yn yr ymdrechfäau gynt, yr oedd llawer yn rhedeg, ond *un* oedd yn ennill y gamp; ond yma y mae *pawb* sydd yn ymdrech yn gyfreithlawn, yn fuddugol, ac nid oes neb yn colli. Am hyny, rhedwch, fel y caffoch afael; y mae y nôd yn amlwg, y mae y ffordd yn hygyrch, y mae y cwmni yn anrhydeddus; a bydd yr orphwysfa yn felus, a'r gân yn dragywyddol!

# PREGETH XXVIII.

## Y CNAWD A'R YSBRYD.

GAN Y PARCH. JOSHUA DAVIES, ADWY'R CLAWDD.

"Canys os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch; eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corff trwy yr Ysbryd, byw fyddwch."—RHUFEINIAID viii. 13.

Y MAE tri o bethau yn cyfansoddi cymeriad pob dyn,—ei brif dueddiad, gweithrediadau ei feddwl, ac ymddygiadau allanol ei fywyd. Fel y daeth efe o dan law ei Wneuthurwr perffaith, yr oedd y tri pheth hyn yn cydgordio y naill â'r llall: yr ewyllys yn gogwyddo at sancteiddrwydd, yr holl alluoedd yn cydysgogi ar bethau ysbrydol, a'r cyfan yn cael ei berffeithio mewn gweithredoedd yn yr ymarweddiad oddiallan. Y mae fel y pren, yr hwn sydd yn dechreu gweithredu yn y gwreiddyn, trwy dynu nôdd i mewn o'r ddaear; yna yn cyfleu y nôdd hwnw i fyny i gorff y pren, trwy gyfrwng gwythienau, lle y mae yn cymeryd i mewn iddo ei hun ansawdd y pren; ac oddiyno drachefn y mae yn ei ddwyn allan yn ffrwyth perffeithiedig ar frig y cangenau. Dyma yr olwg ogoneddus a fuasai ar ein byd ni heddyw oni buasai cwymp dyn. "Y dyn da, o drysor da ei galon, yn dwyn allan bethau da." Ond, ysywaeth, nid felly y mae pethau yn bod; y mae egwyddorion gwrthwyneb i'r rhai hyn wedi ymddangos; y mae y galon wedi ei llygru, yr ewyllys wedi ymadael â Duw, ac yn gogwyddo at bechod; ac y mae pob cnawd mewn canlyniad wedi llygru ei ffordd ar y ddaear. "Gŵyrasant oll, aethant oll yn anfuddiol; nid oes a wnêl ddaioni, nac oes un." Y mae y pren wedi myned yn ddrwg, a thrwy hyny y mae y ffrwyth yn ddrwg hefyd. "Y dyn drwg, o drysor drwg ei galon, a ddwg allan bethau drwg." Yn y cyflwr truenus hwn y buasai holl ddynolryw yn aros byth oni buasai i Dduw yn ei ras drefnu llwybr i'w hadferu. Trwy y llwybr hwnw y mae yn planu egwyddor

sanctaidd yn y galon, yr hon sydd yn teyrnasu ar yr enaid, ac yn darostwng llygredigaeth y galon a'r fuchedd mewn bywyd; ac yn angeu yn eu llwyr ddinystrio, ac yn gwaredu yr enaid am byth oddiwrth eu heffeithiau. Y ddwy anian a nodwyd, ynghyd a'u heffeithiau ar y meddwl a'r fuchedd, yw yr hyn a olygir wrth y cnawd a'r ysbryd.

I. Cymerwn olwg ar y cnawd a'r ysbryd fel egwyddorion.

Y mae o bwys i ni ystyried *fod egwyddor yn hanfodi yn annibynol ar deimlad ac ysgogiad*, i fesur mawr, os nad yn gwbl oll. Bernir y gall yr holl beiriannau a berthynant i'r corff dynol sefyll am ryw yspaid, ac i'r bywyd barhâu heb ei ddinystrio. Y mae yn bosibl hefyd i ni golli ein teimladau i raddau mawr iawn, os nid yn gwbl, heb golli ein bywyd. Y mae hyny yn dangos fod y bywyd yn beth ar wahân oddiwrth y naill a'r llall; ac o herwydd hyny y dichon iddo lechu yn y corff pan fydd yr arwyddion cyffredin o hono wedi colli. Gellir dyweyd yr un peth am y ddwy anian a nodwyd: gallant hwythau hefyd, o dan amgylchiadau neillduol, lechu yn yr enaid heb fod yr arwyddion cyffredin o honynt yn ymddangos yn y fuchedd. Mae cystuddiau, a bygythion y gwirionedd, weithiau, yn peri i'r annuwiol ymadael â'i ffyrdd pechadurus, ac ymroddi am ryw dymmor i geisio Duw. Y mae gwrthgiliadau yn ysbryd y duwiol, ar y llaw arall, yn cymeryd ymaith holl arwyddion ei anian yntau. Eto, er hyn i gyd, nid yw anian y naill na'r llall yn darfod; ac y mae yn groes i natur, fel y dangoswyd o'r blaen, i dybied hyny. Y mae egwyddor y naill a'r llall yno, fel y mae bywyd naturiol yn y dyn sydd mewn llewyg, er fod holl ysgogiadau yr egwyddor wedi darfod am ryw amser.

Y mae ystyried hyn yn beth o'r pwys mwyaf, i bobl ieuainc yn enwedig, tuag at eu cadw ar eu gwyliadwriaeth wedi symud o gymoedd a phentrefi dystaw Cymru i drefydd mawr Lloegr. Trwy fanteision ardal ddystaw, ac addysgiadau rhieni a chyfeillion crefyddol, y mae drygioni y galon wedi ei gadw i fesur mawr heb ei gyffroi i weithredu, a llawer teimlad tyner ac ymarferiad rhinweddol wedi eu meithrin ynddynt. Y perygl yw ymddiried yn y pethau hyn. Fe all y gŵr ieuanc, tra bydd ei feddwl o dan ddylanwad y tynerwch hwn, ryfeddu a

gresynu wrth glywed am bechodau ysgeler y trefydd mawr, a theimlo y sicrwydd mwyaf ynddo ei hun na allai dim ei arwain ef i'r fath eithafion. Os gŵr ieuanc o'r fath sydd yn darllen y llinellau hyn, carwn iddo gymeryd rhybudd, a chredu mai ei ddiogelwch yw ofni y pethau hyny, a gwneyd pob darpariaeth wrth gychwyn i'w hosgoi. Ni byddai yn anhawdd dwyn esiamplau llïosog o rai mor obeithiol a chwithau, ac mor benderfynol i ddilyn llwybrau crefydd, wedi eu harwain gan demtasiynau y trefydd mawr i'w gadael yn llwyr, ac ymroddi i bob annuwioldeb. Pan ddywedodd y prophwyd wrth Hazael, gwas Benhadad, y byddai iddo ddinystrio amddiffynfëydd Israel, lladd eu gwŷr ieuainc â'r cleddyf, a rhwygo eu gwragedd beichiogion, fe gyffrödd ei galon, ac efe a ddywedodd mewn syndod, "Ai ci yw dy was, fel y gwnelai efe y mawr beth hyn?" Nid oedd yn teimlo dim yn ei feddwl ar y pryd yn cyfateb i'r darluniad ofnadwy. Ond pan ddywedodd Eliseus wrtho, "Yr Arglwydd a ddangosodd i mi y byddi di yn frenin ar Syria," fe gyffrödd egwyddor lygredig ei galon; llanwyd ei ysbryd â theimladau na phrofodd erioed o'r blaen; aeth ymaith oddiwrth y prophwyd, lladdodd y brenin, a chyflawnodd yr holl drychineb a ragfynegwyd gan y prophwyd. Y mae yr olwg a gafwyd ar lawer gŵr ieuanc wrth gychwyn oddicartref yn debyg i olwg Hazael o flaen y prophwyd. Wrth roddi cynghorion iddynt i fod yn onest, yn eirwir, a diwair, ymddangosant yn gyffröus, ac fel pe byddent yn teimlo yn angharedig bod neb yn ystyried fod perygl iddynt hwy syrthio i'r fath bechodau gwarthus. Nid oedd neb yn ammheu cywirdeb a grym eu penderfyniad, ac nid oedd perygl iddynt eu cyflawni tra byddent o dan ddylanwad teimladau crefyddol; ond erbyn myned i ganol twrf y brifddinas, cynhyrfwyd eu hysbryd o'r sefyllfa dawel yr oedd ynddi yn eu cartref; ac yn y cynhyrfiad hwnw wele ryw demtasiwn yn ymosod arnynt, ac megys gwynt yn eu dwyn hwynt ymaith i'r holl ddrygioni y rhybuddiwyd hwynt rhagddo yn y cyfarfod eglwysig, cyn cychwyn oddicartref; a thrwy hyny dwyn arnynt eu hunain, a'u teuluoedd hefyd i fesur, warthnod y carchar, ac alltudiaeth.

Yr hyn ydyw cyffröad a themtasiwn i'r anian lygredig, dyna ydyw moddion gras i'r anian sanctaidd. Cydnabyddir fod anghen symbyliad neu gymhelliad ar yr

egwyddor sanctaidd. Y mae ei gweithrediadau hithau hefyd yn arafu; ac, o ran dim sydd yn ymddangos, yn sefyll yn hollol mewn rhai amgylchiadau. Y mae hyn wedi arwain rhai i feddwl ei bod mewn gwirionedd wedi darfod, a bod yr enaid wedi dychwelyd i'w gyflwr damniol yn ei ol. Ond y mae y sylwadau blaenorol ar ddeddfau egwyddor, yn gystal a thystiolaethau amlwg y gwirionedd yn profi nad felly y mae. "Ysgrifenu yr wyf atoch," medd yr apostol Pedr, "i gyffroi eich meddyliau puraidd." Y mae y geiriau yn dangos dau beth,—sef, bod eisieu cyffroi meddyliau puraidd; ac hefyd, mai trwy foddion gras y gwneir hyny. Y mae hyn yn gosod pwys mawr ar fod yn ffyddlawn yn yr ymarferiad â moddion gras, oblegid mai moddion ydynt i ddeffroi yr egwyddor sanctaidd sydd yn y meddwl, a'i chadw mewn gweithrediad parhâus. Nid *perpetual motion* ydyw yr anian sanctaidd; y mae yn rhaid iddi hi wrth foddion yn barhâus i'w chadw mewn gweithrediad. Cyffelybir hi i ronyn o had mwstard, yr hwn a hauodd dyn yn ei faes, ac a dyfodd yn bren mawr; ac i surdoes, yr hwn a guddiodd gwraig mewn tri phecaid o flawd, hyd oni surodd y cwbl. Y mae yn amlwg fod eisieu rhywbeth heblaw hau y gronyn, a chuddio y surdoes yn y blawd: rhaid dyfrhâu a chynhesu y gronyn, onidê ni thŷf er ei fod yn y ddaear; rhaid cadw y toes yn gynhes, onidê nid ymweithia i suro y blawd. Felly y mae yn rhaid i ras gael meithriniaeth moddion yr efengyl a dylanwadau Ysbryd Duw, onidê ni all efe ysgogi er cynnydd a chryfhâd.

Edrychwn yn y lle nesaf ar y ddwy egwyddor *yn eu gweithrediad ar eu gwahanol wrthddrychau.* O herwydd yr attalfëydd sydd ar ffordd yr anian lygredig, nid yw yn gallu dadblygu ei hun yn berffaith; y mae addysgiadau ac esiamplau crefyddwyr, ynghyda daioni a thiriondeb Duw yn ei ragluniaeth, yn rhwystr mawr iddi. Y mae dyfnderoedd o ddrygioni yn nghalon dyn, na chafodd gyfleusdra erioed i'w ddangos ei hun yn y byd hwn; ond yn y byd a ddaw, wedi ei ollwng yn rhydd, fe ddaw i'r golwg yn ei holl anferthwch.

Y mae yr un peth yn wir am yr anian sanctaidd; y mae attalfëydd iddi hithau hefyd. Y mae cnawdolrwydd y serchiadau, daearoldeb y meddwl, a dirywiad ei hyder gan siomedigaethau y byd hwn, yn rhwystr mawr iddi hi

weithredu yn briodol ar ei gwrthddrych. Y mae hi yn ewyllysio gwneuthur yn dda, ond y mae y drwg yn bresennol gyda hi, ac yn attal y cyflawniad. Pan y bydd yr anian yn ewyllysio caru Duw yn berffaith, y mae llygredigaeth y serch yn dyrysu hyny; pan y mae yn llawn fwriadu treulio awr mewn meddwl am Dduw yn unig, y mae daearoldeb y meddwl yn troi y myfyrdod ar bethau y byd hwn. Yn y nefoedd, wedi perffeithio yr ysbryd, bydd yr holl gyflawniadau mor berffaith a'r ewyllysio. Bydd y serch yno yn caru Duw, a'r meddwl yn myfyrio arno, a ffydd yn ymorphwys arno, mor berffaith ag y bydd yr ewyllys yn dymuno hyny. Ond yn y fuchedd hon, tra y mae yr enaid heb ei berffeithio, rhaid ei garu â serch anmherffaith, myfyrio arno â meddwl llygredig, a phwyso arno â ffydd wedi ei gwanychu âg ammheuon. Y mae gwrthddrychau y gweithrediadau hyn yn berffaith. Y mae hawddgarwch Duw yn berffaith, y mae gwirionedd a gallu Duw yn berffaith, ac yn teilyngu cariad ac ymddiried perffaith yn awr; ond y mae yr enaid yn llygredig, fel na all ei garu, ac y mae ffydd wedi ei gwanychu trwy bwyso ar y cnawd. Dywedir am y morwyr, eu bod yn methu sefyll ar eu traed wedi glànio ar ol mordaith hir. Nid yn y ddaear sydd o dan eu traed y mae yr achos o hyny—y mae yr hen ddaear yn berffaith gadarn; ynddynt hwy y mae yr achos. Wrth hir gynefino âg ysgogiadau parhâus y môr, y mae y gewynau a holl ddeddfau cydbwysiad yn ymffurfio at hyny, fel ag y maent yn gallu sefyll neu gerdded yn hollol ddiberygl; ond erbyn iddynt lànio, y mae yr un ffurf yn para yn y corff, yr hwn sydd yn ymattal ar y naill ochr a'r llall, fel pe byddai ar y môr; ac o herwydd nad oes tònau o dan eu traed, y maent, trwy yr ysgogiadau hyny, yn taflu eu hunain i lawr. Fel hyny hefyd mae ffydd wrth bwyso ar air Duw. Y mae yn ammheu er bod y sylfaen yn ansigledig: siomedigaethau y byd, a'i addewidion ammodol, sydd wedi cenedlu gochelgarwch neu betrusder yn y credadyn, yr hwn sydd yn para yn anmherffeithrwydd ynddo wedi ei symud i bwyso ar sylfaen ansigledig.

Er nad yw y gweithrediadau ar y gwrthddrychau yn berffaith, eto y maent i'w hadnabod yn y gweithrediadau anmherffaith. Os nad yw gweithrediadau y cnawd yn berffaith, y mae cyrchfa cyffredin y meddwl at bethau y

cnawd yn profi yr egwyddor. Os nad yw gweithrediad yr ysbryd yn berffaith, y mae cyrchfa gyffredin y meddwl at bethau yr Ysbryd yn profi mai o dan lywodraeth yr Ysbryd y mae y meddwl hwnw. Edrychwn gan hyny ar weithrediad y ddwy yn y pethau canlynol:—

1. *Testynau myfyrdod y ddau:* "Y rhai sydd yn ol y cnawd, am bethau y cnawd y maent yn syniaw; a'r rhai sydd yn ol yr Ysbryd, am bethau yr Ysbryd." Y mae tueddiad y meddwl i'w weled amlycaf mewn oriau hamddenol, pan na bydd unrhyw gymhellion neillduol i dueddu y meddwl y naill ffordd na'r llall. Yn y cyfryw amgylchiadau, y mae y meddwl cnawdol yn rhedeg yn naturiol ar bethau y ddaear,—megys enwogrwydd, cyfoeth, &c.; ac y mae y meddwl ysbrydol yn esgyn yn naturiol, fel yr arogldarth, i fyny at Dduw a phethau tragywyddol. Fel y sylwyd yn barod, y mae eithriad i hyn, y naill ochr fel y llall. Y mae ofn marw a thragywyddoldeb, a dylanwad esiampl, yn attal ffrwd myfyrdod y dyn cnawdol, ac yn ei droi ar bethau ysbrydol. Gwelir ef weithiau mewn cyfyngder, ac yn llefain am drugaredd i'w enaid. Ond erbyn i hyny fyned heibio, y mae ei feddwl yn ymdawelu, yr attalfa yn cael ei symud oddiar ei ffordd, a ffrwd ei fyfyrdod yn ail gychwyn yn ei hen sianel drachefn. Y mae y meddwl ysbrydol yn cael ei attal yr un modd, ac wedi symud yr attalfa y mae yntau fel y llall yn troi at ei bethau ei hun.

Gyda'r cnawd y mae y meddwl cnawdol yn cael gorphwysdra; yno y mae efe yn ymdawelu. Cynhyrfus ydyw gyda phob peth a berthyn i'r Ysbryd, a thrwy gynhwrf yn unig y cedwir ei feddwl arnynt. Gadawer iddo ymlonyddu, a dyna fe yn disgyn yn naturiol i orwedd mewn drygioni. Rhyw brofedigaeth hefyd sydd yn cadw y meddwl grasol gyda phethau y ddaear yn ormodol; ond erbyn i hyny fyned heibio, y mae y meddwl, fel nodwydd y morwr ar ol yr ystorm, yn ymsefydlu ar yr hen bwynt drachefn. Y mae y meddwl ysbrydol fel yr awyren, â defnydd esgyn tuag i fyny ynddo; y mae y meddwl cnawdol fel y sach dywod sydd yn yr awyren, â defnydd ynddo i ddisgyn i lawr. Er fod defnydd myned i fyny yn yr awyren, y mae yn methu o herwydd ei bod wedi ei bachu wrth y ddaear; ac er fod defnydd myned i lawr yn y sach dywod, eto nis gall wneyd am ei bod yn

yr awyren, yr hon wedi ei gollwng yn rhydd sydd yn ei chodi i'r entrych; ond y foment y rhyddhëir hi oddiwrth yr awyren, y mae yn disgyn yn uniongyrchol i'r ddaear. Y mae golygfa debyg iawn i hyn yn cymeryd lle ar ddydd yr Arglwydd. Dacw Dduw, trwy ei orchymyn, yn dadfachu y Cristion o afael y byd a'i drafferthion; y mae yntau yn esgyn yn naturiol tuag at Dduw, gan ddwyn ei gymydog cnawdol i fyny gydag ef, trwy ddylanwad ei weddïau a'i gynghorion; ond erbyn bore dydd Llun, y mae y ddau yn ymwahanu oddiwrth eu gilydd, a'r meddwl ysbrydol yn aros mewn myfyrdod ac ymhyfrydiad gyda phethau y Sabbath, ond y meddwl cnawdol yn disgyn yn ôl ar y ddaear a'i phethau.

2. Y mae y ddwy egwyddor yn eu dangos eu hunain, ymhellach, *yn eu dewisiad o bethau cydnaws â hwy eu hunain.* Gosodwyd dau wrthddrych o flaen Moses—un yn gnawdol, a'r llall yn ysbrydol. Y blaenaf oedd trysorau yr Aipht, a mwyniant pechod; y llall oedd adfyd pobl Dduw, a thaledigaeth y gwobrwy. Dewisodd Moses yr olaf,—dyna esiampl o ddewis yn ol yr Ysbryd. Gosodwyd gwrthddrychau o'r un natur o flaen y gŵr ieuanc a ddaeth at Iesu Grist: y cnawd oedd y trysor ar y ddaear; yr Ysbryd oedd y trysor yn y nef. Dewisodd ef y blaenaf,—dyna ddewis yn ol y cnawd. Y mae yr Ysbryd Glân wedi gofalu rhoddi ar ddeall beth oedd agwedd meddwl y ddau yn yr amgylchiadau. Dywedir am Moses, "Canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gwobrwy." Nid am fod plant Israel yn frodyr iddo, nac o herwydd ei berthynas âg Abraham, Isaac, a Jacob, y dewisodd efe oddef adfyd gyda hwynt: dewis yn ol y cnawd a fuasai hyny. Ond am mai pobl Dduw oeddynt yr ymunodd efe â hwynt: "Canys edrych yr oedd efe," nid ar ddim gwrthddrychau na pherthynasau cnawdol, ond "ar daledigaeth y gwobrwy." Yr oedd ei lygad yn sengl ar Dduw a gwynfyd y nefoedd. Dywedir am y gŵr ieuanc, iddo droi ymaith yn athrist, am ei fod yn berchen dâ lawer. Dyna awgrym lled eglur mai ar ei ddâ yr oedd efe yn edrych pan wrthododd efe y trysor yn y nef.

Er na elwir arnom i ddewis mewn amgylchiadau mor hynod a'r rhai hyn, eto fe osodir y cnawd a'r Ysbryd o'n blaen bob dydd, yn amgylchiadau cyffredin bywyd. Yr

ydym yn dewis y naill ac yn gwrthod y llall, yn anocheladwy, yn ein holl fywyd. Gellir edrych ar ein holl ymarweddiad yn un gyfres o wrthodiadau a dewisiadau. Fe allai nad yw y pethau yn ymddangos i ni yn y ffurf hono, eto y maent yn bod yn wirioneddol. "Yr hwn nid yw gyda mi sydd yn fy erbyn," medd y Gwaredwr, yr hyn sydd yn dangos nad oes yr un lle canol rhwng drwg a da. Pan y mae dyn yn dewis byw yn dduwiol, y mae wrth wneyd hyny yn ymwadu âg annuwioldeb; ac y mae yr hwn sydd yn dewis ffordd yr annuwiolion, yn gwrthod ffyrdd duwioldeb. Ymhlith yr amrywiol bethau sydd yn ein cyfarfod bob dydd, gellir enwi llywodraeth ac addysg deuluaidd, trafodaeth â gwahanol gangenau cymdeithas—megys cymydogion, masnachwyr, meistriaid, gweision, a llywodraethwyr. Wrth ymwneyd â'r gwahanol ddosbarthiadau hyn, y mae y ddwy egwyddor yn cael cyfle i ddangos eu hunain. Gweithredoedd y cnawd tuag atynt yw tor-priodas, godineb, aflendid, anlladrwydd, cynhenau, gwynfydau, llid, ymrysonau, meddwdod, cyfeddach, a chyffelyb i'r rhai hyn. Gweithredoedd yr Ysbryd ydynt cyfiawnder, tangnefedd, hirymaros, addfwynder, ffydd, dirwest, &c. Byw yn ol y cnawd yw dyweyd "Drwg, drwg" wrth brynu, ac ymffrostio wedi myned ymaith; byw yn ol yr Ysbryd yw dyweyd fel Abraham wrth brynu maes Machpelah, "Er ei lawn werth rhodded i mi, yn feddiant beddrod yn eich plith chwi." Y mae y gweithredoedd amlwg hyn yn rhoddi prawf i'r byd beth yw ein hegwyddor; ond y mae amcan y galon yn eu cyflawni yn brawf i'r dyn ei hun. Fe all gyflawni gweithredoedd a berthynant i'r anian sanctaidd, i ddybenion ac oddiar gymhelliadau cnawdol. Pan fyddo'r gwas yn cyflawni ei orchwyl gyda llygad-wasanaeth, i foddloni ei feistr, y mae ei waith yn dda, ond y mae ei amcan yn gnawdol; byw yn ol yr Ysbryd yw cyflawni yr un gwaith fel gweision i Grist, yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon. Pa mor fychan bynag fyddo'r gorchwyl, y mae yn fforddio cyfleusdra i ni wybod beth ydyw prif egwyddor y galon.

3. *Y mae gwrthddrychau ymddiried dyn o'r un natur a'i egwyddor.* Sonia'r gwirionedd am fraich o gnawd, ac am y Breichiau tragywyddol. Natur yw y cyntaf, Duw ydyw yr olaf. Gosodir amrywiol bethau allan fel sail ymddiried meddwl cnawdol—megys cyfoeth, deddfau natur,

gallu y corff dynol, a medrusrwydd a doethineb dyn; ond unig wrthddrych ymddiried ysbrydol ydyw Duw.

Gosodwyd y ddau o flaen Abraham, pan addawodd Duw fab iddo o Sarah. Ar y naill law yr oedd natur yn tystio na allai efe gael etifedd, o herwydd ei fod yn fab canmlwydd, a bru Sarah wedi marweiddio. Edrychodd ar hyny, a dywedodd, "A blentir i fab canmlwydd? O na byddai byw Ismael ger dy fron!" Arwydd o ymdrech, yn wyneb yr anhawsder oedd mewn natur, oedd hyn. Ond wele yr Arglwydd yn ail addaw yr un peth, gyda chwanegu y gair *diau.* "Sarah dy wraig a ddwg i ti fab yn ddiau." Gyda golwg ar hyn y dywedir, "Efe a nerthwyd yn y ffydd." Ni ddywedir iddo gredu am ei fod yn gryf mewn ffydd, ond am iddo gael ei nerthu. Y mae hyny yn dangos iddo fod yn rhy wan i gredu addewid Duw unwaith, a'r tro cyntaf y rhoddwyd yr addewid iddo oedd hyny. Ond pan welodd y Jehofah mawr ef yn methu, ail roddodd yr addewid mewn ffurf mwy cadarn a phenderfynol; a dyna'r moddion trwy ba rai y nerthwyd ef i gredu. Edrychodd uwchlaw natur ar Dduw natur, ac a gredodd yn erbyn y gobaith oedd mewn natur o dan obaith yn Nuw natur. Dyna gredu yn ol yr Ysbryd. Pan ddywedodd y prophwyd Jeremiah wrth y bobl am aros yn Jerusalem, a pheidio myned i lawr i'r Aipht, ni wrandawsant ar air yr Arglwydd, ond aethant i lawr i'r Aipht, er mwyn bod o dan amddiffyniad Pharaoh;—dyna esiampl o ymddiried yn y cnawd. Y mae dilyn ein cynghorion ein hun, gan wrthod cynghorion yr Arglwydd—ymddiried i'n deall ein hun, yn lle gobeithio ynddo Ef, &c.—oll yn esiamplau o dueddiad yr egwyddor gnawdol i bwyso ar sylfeini o'r un natur a hi ei hun.

Y mae derbynwyr y gair yn cael eu dosbarthu, yn ol y ddwy egwyddor yma; y mae y naill ddosbarth yn ei dderbyn fel gair dyn, a'r llall yn ei dderbyn fel y mae yn wir yn air Duw. Y mae y naill yn ei gredu ar seiliau dynol; y mae y llall yn ei gredu ar seiliau Dwyfol. Y mae y profion allanol o wirionedd y Bibl yn werthfawr iawn, ond nid yw ei gredu ar sail y rhai hyny yn cyrhaedd ymhellach na'r cnawd; canys perthyn i'r cnawd y mae cysondeb ei wahanol ranau, a'i gydgordiad hanesyddol, &c. Yr hyn sydd yn gynnwysedig yn y Bibl yw yr Ysbryd—y gwirioneddau sydd ynddo; a chredu y rhai

hyny, fel gwirioneddau oddiwrth Dduw, yw credu y Bibl yn ysbrydol.

Y mae ffydd ysbrydol yn defnyddio cyfryngau cnawdol, ond y mae hi yn myned trwy y cyfrwng at y Gwrthddrych: tra y mae ffydd gnawdol yn aros gyda'r cyfrwng, ac yn pwyso arno. Arwydd o ffydd gnawdol yw talu sylw anghymedrol i'r cyfryngau, ac esgeuluso y Gwrthddrych: dangos mwy o barch i'r Bibl na Gwrthddrych y Bibl —mwy o barch i'r groes na Gwrthddrych y groes—mwy o barch i'r cymun na Gwrthddrych y cymun. Dyma'r ffydd a arweiniodd rai o'n henafiaid i ddodi y Bibl o dan eu pen y nos i'w diogelu, yn lle ymddiried i Dduw y Bibl am hyny. Dyma'r ffydd sydd yn arwain y Pabyddion i roddi croesau yn eu gwisgoedd, yn lle ymddiried i'r Person fu ar y groes; ac effaith yr un ffydd ydyw yr holl ddelwau, a'r holl ystumiau rhodresgar a ddefnyddiant yn eu haddoliad. Nid yw perchen ffydd ysbrydol yn edrych gymaint ar yr hyn sydd yn y golwg. Y mae addoldy syml a diaddurn, a moddion cymedrol, yn ddigon ganddo ef. Ei iaith ydyw, "Pe cawn ond cyffwrdd âg ymyl ei wisg Ef, iach fyddaf;" "Yn unig dywed y gair, ac iach fydd fy ngwas." Mor wahanol oedd cais yr Iuddewon cnawdol: "Dangos i ni arwydd o'r nef," meddent wrtho. Eisieu rhywbeth mawr yn y golwg oedd arnynt hwy. Mae tamaid syml o fara, a hwnw heb ei droi yn wir gorff Crist, a llymaid o win heb ei draws-sylweddu i waed y Gwaredwr, yn boddloni ffydd ysbrydol, oblegid ymwneyd â'r Gwrthddrych mawr ei hun y mae hi; a phe na roddai Duw iddi ond yr hyn a roddodd o flaen y wraig o Ganaan, hi aiff ato trwy y briwsion.

Nid credu llawer o dystiolaethau a hynododd Abraham, ond credu ychydig yn gryf, neu gredu yn Nuw trwy ychydig. Y mae genym ni yn awr gyfle i gredu mwy o lawer nag Abraham. Ond nid credu llawer o eiriau Duw sydd yn cadw. Y mae llawer yn credu yr holl Fibl, o'i ddechreu i'w ddiwedd, ond nid ydynt yn credu dim o hono yn gryf; ac am hyny nid yw yn cael effaith ar eu calonau. Rhodder yr amgylchiad lleiaf i bwyso ar eu ffydd, ac fe welir nad yw yn ddigon cryf i'w ddal. Pe na byddai ond mis o afiechyd, neu ryw fân groesau, y mae y ffydd hon yn rhy wan i gynnal y meddwl o danynt. Pan eir i godi pwysau mawr â dwfr, crynhöir ef o fewn

cist haiarn, lle y ceir mantais i'w ddirwasgu; a thrwy ei ddirwasgu yno, codir tunnelli lawer o bwysau âg ef. Ni allasai holl ddyfroedd Afon Menai, tra yn rhydd a gwasgaredig dros wely yr afon, syflyd *tubes* pont Britannia; ond wrth grynhöi ryw ychydig o honynt i'r *hydraulic*, gallwyd codi y *tubes* anferth i'w lle. Mae yr Ysbryd Glân yn gwneyd yr un modd wrth symud pechadur drwodd o farwolaeth i fywyd: y mae yn crynhoi holl feddwl y pechadur, oedd yn wasgaredig dros wyneb yr holl Fibl, i gylch un adnod; ac wedi iddo ei gael yno, y mae Efe yn ei ddirwasgu trwy oruchwyliaethau Dwyfol, a thrwy hyny yn ei godi o ddyfnder trueni i afael bywyd tragywyddol!

II. Effeithiau neu ganlyniadau y ddau: "Syniad y cnawd, marwolaeth yw; syniad yr Ysbryd, bywyd a thangnefedd yw."

Dyna effaith y ddau yn y bywyd presennol. Yr egwyddor gnawdol yw marwolaeth yr enaid; yr egwyddor ysbrydol yw ei bywyd. Marwolaeth a bywyd moesol a olygir, yn y gwirionedd, wrth sôn am ddyn yn farw mewn pechod, ac yn cael ei fywyd drachefn trwy ras. Y mae bywyd yn perthyn i'r enaid fel crëadur, yr hwn sydd yn parhâu ar ol iddo golli y llall. Trwy y bywyd hwn y mae yn gallu credu, gobeithio, caru, meddwl, ac addoli. Y mae y pethau hyn yn hanfodol iddo fel crëadur. Y mae edrych ar y ddau fywyd yma fel un, wedi arwain rhai i ddadleuon anfuddiol ac anorphenol. Dadleuai y naill ei fod yn fyw, gan gyfeirio at fywyd yr enaid fel crëadur; taerai y llall ei fod yn farw, gan gyfeirio at ei egwyddor. Yr oedd y ddau yn eu lle, oblegid yr oedd efe yn fyw ac yn farw.Ië, y mae efe yn farw—yn hollol farw. Y mae marw naturiol yn rhy wan i osod ei farwolaeth allan, oblegid y mae y dyn cnawdol yn druenus. Nid oes fywyd yn y corff yn y bedd, nid oes ynddo boen ychwaith; eithr y mae yr enaid diras yn hollol farw, ac yn druenus hefyd. Y mae y trueni hwn yn tarddu oddiar weithrediadau naturiol yr enaid, heb egwyddor dda i'w rheoli a'u harwain. Y mae yr egwyddor gnawdol wedi arwain y meddwl i weithredu ar bethau sydd yn boen ac yn ddinystr iddo, o herwydd eu hannigonolrwydd a'u hanghyfaddasrwydd iddo. Y mae yr enaid yn gweiddi am yr Anfeidrol i weithredu arno, ac nid oes dim ond Efe yn ddigon iddo;

ond y mae yr anian lygredig yn gwrthod yr anfeidr hwnw yn Nuw, am ei fod mewn cysylltiad mor agos â sancteiddrwydd; neu fel y mae Vinet yn dyweyd ar y mater yma, "Nis gall dyn ymwrthod â'i bechod, nac â Dduw. Y mae ei lygredd yn ei gadw yno wrth y byd hwn: y mae greddf ddirgeledig yn ei godi tuag at yr hyn sydd anweledig." Nid yw ei ymdrech i uno y ddau â'u gilydd, fel y mae yr awdwr yn dangos, ond ymgais hollol ofer ac aflwyddiannus. Y mae yn waeth nag aflwyddiannus, y mae yn ychwanegu at ei drueni. Trwy newid gogoniant y Duw anllygredig i gyffelybiaeth llun dyn llygredig, &c., y mae yn tynu arno ei hun farn Duw; yr hon, fel y gwelir yn y bennod gyntaf o'r Epistol at y Rhufeiniaid, sydd gynnwysedig mewn rhoddi yr enaid i fyny i holl ddylanwad chwantau y cnawd. Pa dafod all draethu, pa galon all ddychymygu, y trueni a weinydda yr enaid arno ei hun trwy ymroddi i'r gyfres anfad o nwydau a gweithredoedd a geir o adn. 24 i ddiwedd y bennod? Cymerwn ddau o honynt—cenfigen a drwganwydau—er esiampl, i ddangos y trueni a ddygir ar y neb sydd o dan eu llywodraeth. Dyma bethau sydd yn ddinystr i ysbryd, a chorff hefyd: nid cymaint i ysbryd y gwrthddrych, oblegid gall fod hwnw yn trigo yn ddiofal yn ei ymyl; ysbryd y gweithredydd sydd yn dyoddef. "Cenfigen a ladd ei pherchenog." Ni âd iddo gysgu y nos, ond y mae yn cadw ei ysbryd ef mewn cynhwrf yn barhâus. Y mae mewn perygl bob awr i gael ei wânu ganddo, trwy ganfod, fel Haman gynt, ei wrthddrych yn cael dyrchafiad a pharch. Y mae drwganwydau yr un mor ddinystriol i'r neb sydd yn eu coleddu. Y mae yr archoll a wnânt ar ysbryd y dyn sydd yn eu coleddu yn fwy na'r briw a dderbynia neb arall drwyddynt. Y dyn ei hun bob amser sydd yn dyoddef fwyaf. Y mae yn rhaid i bob gair chwerw a ddywedwn wrth arall, a phob ymddygiad angharedig tuag atynt, fyned yn gyntaf trwy ein calonau ni ein hunain mewn teimladau chwerw a dialgar; ac y maent yn archolli y galon ar eu ffordd wrth fyned. Dywedir fod yn rhaid i'r dânbelen, wedi iddi ddisgyn, ddryllio ei hun cyn y gall niweidio neb arall; felly hefyd y mae yn rhaid i'r galon sydd yn llawn o ddrwganwydau ddryllio ei theimladau mwyaf cysegredig wrth dywallt ei chynddaredd ar ben ei gwrthddrych, yr hwn yn bur aml sydd yn dïanc yn ddïanaf.

Clywais am hen ŵr flynyddau yn ol, yr hwn a aeth allan o'i dŷ i ymddial ar ryw un oedd ar yr heol; ond cyn iddo ei gyrhaedd, syrthiodd i lawr yn farw, gan mor fawr oedd cynhyrfiadau ei ysbryd. Dyna'r *shell* yn ei dryllio ei hun, a'r gwrthddrych yn dïanc yn ddïanaf. Os na allwn drugarhâu wrth eraill, trugarhäwn wrthym ein hunain.

Y mae gweithrediadau egwyddorion yr ysbryd, o'r ochr arall, yn fendigedig ac iachusol. Dyma rai o honynt: cyfiawnder, tangnefedd, maddeugarwch, addfwynder, haelioni, &c. Y mae pob ysgogiad o eiddo y rhai hyn yn iachâu, ac yn gwasgar dedwyddwch ymhlith dynion; ond o bawb sydd yn profi eu dylanwad, yr enaid sydd yn eu gweithredu sydd yn profi mwyaf. "*It is twice bless'd,*" medd Young; "*It blesses him that gives, and him that receives*"—"Y mae yn bendithio yr hwn sydd yn rhoddi, a'r hwn sydd yn derbyn;" ac y mae yr hwn sydd yn rhoddi yn cael mwy na'r hwn sydd yn derbyn. Y mae profiad cyffredin yn dwyn tystiolaeth i hyn. Onid oes rhyw deimlad bendigedig yn cerdded drwy ein holl ysbryd wrth weinyddu cymhorth i'r gwir anghenus? Onid yw y gollyngdod a'r gorphwysdra ysbryd a deimlir wrth faddeu a charu, yn gwobrwyo yn helaeth y neb sydd yn gwneyd hyny? Ond y mae rhywbeth mwy na theimlad hyfryd i'w gael wrth weithredu y pethau hyn: y maent yn gwella y meddwl; y maent yn tyneru y teimlad, ac yn gwrthweithio holl lygredigaeth yr ysbryd. Dyma, yn ddiau, un rân o drefn y Nefoedd i buro yr enaid—cadw yr egwyddor sanctaidd ar waith i farweiddio gweithredoedd y corff. Tuag at wahanu elfenau rhyw gorff cyfansawdd oddiwrth eu gilydd, rhoddir ef yn y *distillery*, a thywelltir rhyw elfen i mewn iddo, ac yna y mae ymweithiad yn dechreu, a'r elfenau yn ymwahanu oddiwrth eu gilydd. Mae rhywbeth tebyg yn cymeryd lle wrth sancteiddio yr enaid. Symudir yr enaid i ddechreu i'r *distillery* fawr—i Iesu Grist; wedi ei gael yno, taenellir gwaed y cyfammod arno, a dyna'r ymweithiad yn dechreu, a'r enaid a'i lygredd yn dechreu ymwahanu oddiwrth eu gilydd. Y mae pob ysgogiad o eiddo yr egwyddorion hyn, o dan ddylanwad y gwaed, yn gadael argraff tragywyddol ar yr ysbryd, ac yn ei weithio yn nês at berffaith sancteiddrwydd bob dydd. Y mae pob *act* o weddïo dros ein gelynion, maddeu i'n gilydd, ac o gyflawni rhyw wasanaeth i Dduw, yn gryf-

hâd i'r ysbryd sydd yn gwneyd hyny, a gwanychiad egwyddorion gwrthwynebol.

Os yw y gwahaniaeth yn fawr yn y byd hwn, y mae fwy yn y byd tragywyddol. Y mae Iesu Grist yn rhoddi rhyw fath o fesur arno yma; ond yn y byd a ddaw nid yw yn cydnabod un cymhariaeth rhyngddynt. Ni yw yn son ond am fywyd tragywyddol y saint. Wrth ddyweyd fod eu manteision yma yn gan' cymaint, y mae yn cydnabod fod yr annuwiol yn cael rhyw gymaint o fwyniant, fel y mae y Salmydd wrth ddyweyd, "Rhoddaist lawenydd yn fy nghalon, fwy na'r amser yr amlhäodd eu hŷd a'u gwin hwynt;" ond nid oes yr un argrym am un math o fwyniant yn y byd a ddaw. Y mae yr ychydig a fwynhâ yr annuwiol yma yn myned yn ddim; a'r can' cymaint a fwynhâ y credadyn yn chwyddo i fywyd tragywyddol.

Dybenwn gyda rhoddi gocheliad difrifol i'r dosbarth hwnw sydd yn dysgwyl gwynfyd wedi marw, a byw yn eu pechodau yn y byd hwn. "Na thwyller chwi: ni watwarir Duw; canys beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fêd efe." Nid oes y fath beth yn bod a hau i'r cnawd a medi o'r Ysbryd. Rhaid twyllo yr Hollwybodol cyn y gall hyny gymeryd lle. Na: "yr hwn sydd yn hau i'r cnawd, o'r cnawd a fêd lygredigaeth; a'r hwn sydd yn hau i'r Ysbryd, o'r Ysbryd a fêd fywyd tragywyddol."

# PREGETH XXIX.

## Y GROES.

### GAN Y PARCH. JOHN DAVIES, RUNCORN.

**"Eithr na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist."—GALATIAID vi. 14.**

GWNEIR crybwylliad mynych am y groes yn iaith y Testament Newydd; ac nid rhyfedd, canys hi yw canol y cwbl, y pegwn mawr ar yr hwn y try y cyfan yn nhrefn y prynedigaeth. Y mae yn ganolbwynt mawr, fel y mae yn dwyn perthynas â gogoniant Crist ac iachawdwriaeth y pechadur. Holl anrhydedd cyfryngol Crist ar y ddeheulaw a ddeillia oddiyma; a holl ddiogelwch a hapusrwydd y Cristion sydd yn gorphwys ar yr un seiliau. Fel y gareg sylfaen i'r adeilad, mae y cyfan yn gorphwys arni; neu fel y maen cwlwm i'r bwa, hi yw nerth a diogelwch y cwbl.

Wrth y groes, yr ydym yn deall yn fwyaf penodol,—

1. *Dyoddefiadau a marwolaeth ein Prynwr bendigedig ar y groes.* Anaml y golygir y pren croes pan y cyfarfyddwn â'r gair yn y Testament Newydd, ond marwolaeth boenus, ysgeler, a gwaradwyddus Iesu Grist ar y pren melldigedig hwnw. "Efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe angeu y groes." "Yr Hwn, yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd."

2. *Y boddlonrwydd iawnol a roddodd Efe i Dduw, pan yn gwaedu a marw ar y groes.* "Ac wedi iddo wneuthur heddwch trwy waed ei groes Ef."

3. *Yr athrawiaeth werthfawr am y groes.* "Canys yr ymadrodd am y groes, i'r rhai colledig, ynfydrwydd yw."

Mae y testun yn cydgynnwys y tri pheth uchod: "Na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist." Ymffrostiai yr athrawon Iuddewig mewn enwaediad, ac ymddiriedent yn y gyfraith. Cymhellent

eraill hefyd i gael eu henwaedu, nid oddiar amcan pur, nac oddiar eu hymlyniad wrth y gyfraith, ond er mwyn cadw eu hunain rhag cael eu beio, ac i ochel erlidigaeth. Yr oeddynt yn bur awyddus i wneyd dysgyblion i'r enwaediad, ac yna tröent i ymffrostio am yr hyn a wnaethent. "Ond na ato Duw," medd Paul, "i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist." Yr oedd y groes yn dramgwydd i'r Iuddewon: hwy a ddigient o'i herwydd. Syrthiasant ar y maen tramgwydd hwn, a threngasant yn lluoedd. I'r Groegwyr yr oedd yn ffolineb. Ystyrient hwy yn beth ofer, plentynaidd, a gwirionllyd, i ddysgwyl iachawdwriaeth a dedwyddwch trwy rywbeth fel y groes, neu trwy un a groeshoeliasid, ac a fu farw rhwng lladron. Ystyrient y fath ddamcaniaeth fel yn annheilwng o athronydd—islaw uchafiaeth dyn o feddwl a dysgeidiaeth; am hyny troisant ymaith oddiwrthi gyda dirmyg a ffieidd-dra. 'Ond,' medd Paul, 'gadewch i mi ymffrostio yn y groes. A phaham nas dylwn wneyd hyny? Hi yw fy ngobaith, fy mywyd, fy nefoedd, fy mhob peth.'

Edrychwn ar y syniadau amlwg canlynol, mewn perthynas i'r drefn fawr hon:—

I. TRWY Y GROES YR YDYM YN CAEL Y DADGUDDIAD UCHAF A MWYAF GODIDOG O HOLL BRIODOLIAETHAU Y DUWDOD.

Yn wyneb Iesu Grist y mae genym holl ragoriaethau y JEHOFAH wedi eu hegluro yn y goleuni amlycaf. Nid oes un dadguddiad yn rhoddi i ni olwg llawn ac agored ar y Duwdod, ond y groes. Rhanau o'i ffyrdd Ef a welwn ymhob man arall; ond y mae y cyfan yma, heb ddim yn guddiedig, na dim yn absennol. "Y nefoedd sydd yn dadgan gogoniant Duw; a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw Ef." Yn natur mae ei dragywyddol allu a'i Dduwdod yn weledig; ond dim o'i gariad, ei drugaredd, ei ras, a'i dosturi. Chwiliwch holl natur, a thrwy y grëadigaeth yn gyffredinol—y nef, y ddaear, y môr; ac nid oes dim yma y gellwch ei olrhain i Dduw y cariad. Gofynwch ynghylch iachawdwriaeth pechadur, "Y mae y dyfnder yn dywedyd, Nid ydyw hi ynof fi: ac y mae y môr yn dywedyd, Nid ydyw hi gyda myfi." Ond edrychwch ar y groes, ac yma ceir gras, trugaredd, a chariad, yn llawn yn y golwg. Y mae llaw daioni Duw yn weledig

yn natur a rhagluniaeth; ond y mae calon ei gariad yn cael ei hamlygu ar Galfaria. Yr ydym yn darllen ei enw fel ein Crëawdwr, ein Cynnaliwr, &c., trwy y pethau a wnaed; ond trwy y groes yn unig y canfyddwn Ef fel Duw y maddeuant i ni, ac fel ein Tad tosturiol.

Nis gall perffeithiau gogoneddus Duw deyrnasu, buddugoliaethu, a chydweithredu yn achubiaeth pechaduriaid, ond yn unig trwy y groes. Mae cyfiawnder Dwyfol yn galw am gosbedigaeth y gwrthryfelwr; a thrugaredd nefol yn ymbil am i'r gwrthryfelwr gael ei arbed. Trugaredd a ddywed, 'Os dinystrir y pechadur, mi a fyddaf yn dragywyddol anadnabyddus. Rhaid i oludoedd gras, a chyfoeth cariad, redeg fel afonydd mawrion trwy ryw sianeli tanddaearol; neu ynte, rhaid i'w trysorau cyfoethog fod yn guddiedig, a hyny byth, ymhlith dirgelion annadguddiedig y natur Ddwyfol.' Ond cyfiawnder a gyfyd ei lef, ac a ddywed, 'Os arbedir y pechadur oddiwrth gosbedigaeth haeddiannol, yna byddaf fi mewn sefyllfa llawer gwaeth nag anadnabyddus. Mi a fyddaf dros byth mewn dianrhydedd a chywilydd. Rhaid i wirionedd a sancteiddrwydd aros i dragywyddoldeb yn amdöedig mewn gwaradwydd a sarhâd.' Ymddengys gogoniant mynegol y Duwdod fel yn sefyll rhwng y dadleuwyr, yn cydymdeimlo â'r ddwy blaid, ac yn teimlo dyddordeb yn eu ceisiadau. Gogoniant a ddywed, 'Caiff fy nysgleirdeb i ei lychwino os gwneir y cam lleiaf â chyfiawnder. Ni allaf lewyrchu os bydd gwirionedd a sancteiddrwydd dan gwmwl. Eto os bydd i geisiadau trugaredd gael eu nacâu, mi a gâf fy amddifadu am byth o'r cyllid mawr o anrhydedd dyledus i mi. Os bydd i ymbiliau trugaredd gael eu taflu allan, mi a ddyoddefaf golled anadferadwy. Heblaw hyny, O tydi Jehofah mawr! onid ydwyf fi y gwrthddrych penaf ac uchaf sydd genyt mewn golwg yn dy holl gynlluniau a'th weithredoedd? Myfi a geisi ei chwanegu yn dy holl fwriadau a'th gyflawniadau. Yr holl berffeithiau hyn o eiddo dy natur, yn eu holl weithrediadau, a osodir ar waith i roddi i mi anrhydedd a gallu.'

Yn awr, pa fodd y gall y ddadl ymddangosiadol hon gael ei dwyn i derfyniad? Rhaid i ofynion pob plaid gael eu cyflawni; nid all un o honynt wneyd cyttundeb. Rhaid i bechod gael ei gosbi, mae y Duw cyfiawn wedi hysbysu hyny. Rhaid i'r pechadur gael ei achub, mae y

Duw goruchaf a graslawn wedi ei fwriadu. Ond pa fodd y daw hyn o amgylch? O, frodyr, edrychwch acw! Dacw ddoethineb anchwiliadwy yn codi y groes i fyny! Dacw y Cyfryngwr yn dyfod ymlaen! Efe yw tragwyddol Fab Duw, ac ar yr un pryd ein Brawd a'n Meichiau ni. Mae yn wylo, mae yn ochain, mae yn gwaedu, mae yn marw! Efe, gan hyny, yw yr Iawn dros ein pechodau ni. Mae Duw wedi ei lawn foddloni, mae cyfiawnder yn dawel am byth, y gyfraith sydd wedi ei thragywyddol fawrhâu, ac wele drugaredd, gras, a chariad yn myned allan i gofleidio a maddeu i'r pechadur gwrthryfelgar. "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau Ef, a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!" "O'r Arglwydd y daeth hyn; a rhyfedd yw yn ein golwg ni!" "Duw a edrychodd iddo ei hun am oen y poethoffrwm!" Trwy y groes, "trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant; cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant." Trwy y groes, mae cyfiawnder yn cael ei holl ofynion, a thrugaredd ei holl ddymuniadau. Yma mae cyfiawnder a thrugaredd yn teyrnasu ar yr un orsedd. Mae Duw yma yn gyfiawn, a graslawn hefyd. Cosba bechod, ond maddeua i'r pechadur. Yma ynte, trwy y groes, y mae holl briodoliaethau y Duwdod yn cael eu dadguddio; y mae y cwbl yn teyrnasu, a'r cwbl yn buddugoliaethu; nid oes un yn dyoddef cam, nac un yn ddiystyredig.

II. Wrth y groes y mae holl ddefodau ac arwyddion cysgodol yr Hen Destament yn cyfarfod am eu cwblhad.

Gelwir hwynt yn awr at y groes i dderbyn eu gollyngdod. Hwy a wasanaethasant eu hamser yn ffyddlawn; nid oes un ddyledswydd arall yr hon y gelwir arnynt i'w chyflawni; yna ymddangosant wrth y groes i dderbyn eu tâl. Nid oedd angenrheidrwydd am addewidion, ammodau, a gwystlon y ddeddf aberthol, wedi i'r ddeddf foesol dderbyn ei gofynion. Defodau y blaenaf a ddiddymwyd, gan fod cyfiawnder yr olaf wedi ei gyflawni. Arwyddion, cysgodau, ac aberthau yr Hen Destament, a edrychent tua'r groes, a gyfeirient ati, ac a ddiweddasant ynddi. Yn debyg i Ioan Fedyddiwr, tra yr arosent, hwy a waeddent, "Wele Oen Duw, yr Hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd!" Ac yn awr, pan y mae Oen Duw

wedi dyfod, ac wedi rhoi ei hun yn offrwm ac aberth o arogl peraidd i Dduw drosom ni, y mae y Nefoedd yn foddlawn, a hwythau a dilëir. Y gyfraith a roddwyd trwy Moses, ac Elias oedd y penaf o'r prophwydi, ac y mae y ddau berson enwog yn cyfarfod ein Gwaredwr bendigedig ar y mynydd, yn ei weddnewidiad, i roi i fyny, megys, eu hymddiried i'w ddwylaw Ef. Y groes oedd pwnc mawr eu hymddyddan. Siaradent âg Ef am ei farwolaeth. "Y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist." "I Hwn y mae yr holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth." Yr amlygiad cyntaf o obaith a roddwyd i'r pechadur a wnaed yn Eden, a hyny oedd mewn cysylltiad â'r groes. Had y wraig, "Efe a ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef." Abraham a lawenychodd am weled ei ddydd Ef. Yr oedd efengyl dan yr hen oruchwyliaeth, fel y mae dan y newydd; ac yr oedd y groes mor wirioneddol, er nad mor weledig ac eglur, yn nefodau hono, ag y mae yn athrawiaethau hon. Adlewyrchiad y groes yn unig a roddai ddysgleirdeb, gwerth, a phwysigrwydd, i holl gysgodau yr Hen Destament. Buasent oll yn weigion ac heb ystyr, pe na buasent yn rhagedrych at y groes fel eu sylwedd a'u hanfod. Maent hwy yn awr wedi myned heibio, ac y mae y groes yn teyrnasu yn oruchaf. Cysgodau ac aberthau yr hen oruchwyliaeth oeddynt lampau, yn rhoi goleuni i'r ymdeithydd tua'r nefoedd cyn i'r dydd wawrio; ond yn awr, wrth y groes, y mae Haul cyfiawnder yn tywynu arnom gyda llewyrch canolddydd. Mae y lampau, gan hyny, oll wedi eu diffoddi. Nid oes arnom anghen gwaed teirw a geifr, pan y mae genym waed Iesu Grist ei Fab ef, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd.

III. Y GROES YW PWNC MAWR GWEINIDOGAETH YR EFENGYL. "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith, ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio."

Pan y mae y groes o'r golwg, nid oes dim yn y golwg yn werth ei weled. Y mae yn bod bren yn rhywle sydd yn rhoddi bywioliaeth gyflawn i bobl y wlad lle y tyf. Felly y gwna y groes i holl bobl Dduw. Y maent oll yn byw trwy ffydd yn Mab Duw. Y groes oedd y cwbl oedd gan yr Apostolion i'w ddal allan, er tröedigaeth y miloedd ar ddydd y Pentecost. "Hwn, wedi ei roddi trwy derfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw, a gymerasoch

chwi, a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch, ac a laddasoch." Hanes y groes, a'r adgyfodiad oddiwrth y meirw, oedd yr hyn oedd gan yr Apostol Pedr i'w fynegi, pan yr anfonwyd ef i bregethu i Cornelius a'i holl dŷ. A phan y gwasgarwyd yr Apostolion allan o Jerusalem, o flaen tymhestl erlidigaeth, ac y darfu iddynt deithio trwy bob gwlad, ac ymweled â phob cenedl, nid oedd ganddynt ddim i'w gyhoeddi ond y groes a'i rhyfeddodau. Pan oedd y groes yn cael ei chodi ar Galfaria, darfu iddi gipio y lleidr, a'i wneyd yn arwydd ei buddugoliaeth, pan yr oedd yn sefyll ar riniog uffern, a'r fflamau erchyll o'r peirian islaw yn dechreu erychu o'i gwmpas. Hyn oedd gynllun rhagorol o natur y groes, a pheth a fwriedid ei wneyd trwyddi. Hon a orchfygodd Saul o Tarsus, ac a'i dygodd ar ei hyd ar y llawr, mewn ufudd-dod teyrngar ac ewyllysgar: "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" Hon a ddadguddiodd noddfa i geidwad y carchar yn Philippi, yn nghanol chwerwder a dychrynfeydd ei feddwl: "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi." Y groes a weithiodd yn rhyfeddol yn amser y Diwygiad. Gwnaeth i Rufain Babaidd grynu o flaen Luther, fel y gwnaethai i Rufain Baganaidd grynu o flaen yr Apostol Paul. Ac os nad ydym yn camgymeryd, y mae ganddi rywbeth i'w wneyd yn awr yn Itali. Athrawiaethau y groes, y rhai a ysgrifenodd yr Apostol at yr eglwysi, tra yn garcharor yn Rhufain, ydynt yn gwneyd i'r ddinas hono, hyd yn nôd y dyddiau hyn, grynu hyd ei sylfeini. Trwy ba foddion y bu i dadau a sylfaenwyr Methodistiaeth yn Lloegr a Chymru gyflawni y fath ryfeddodau? Darfu iddynt fuddugoliaethu ar uffern, anwybodaeth, ac ofergoeledd, ac, fel yr Apostolion o'u blaen, a droisant y byd â'i wyneb i waered; nid gydag arfau cnawdol, nid trwy alluoedd anianyddol, nid trwy gynlluniau gorfodol, nid trwy rwysg llythyrau, nid "mewn geiriau denu, o ddoethineb ddynol," ond trwy y groes. "Arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol," &c. Gwelwch beth a wnaeth y groes mor ddiweddar yn America, beth a wnaeth wedi hyny yn yr Iwerddon; a pha beth a wnaeth hefyd, ac y mae yn wneyd eto, yn Nghymru! Yn y milflwyddiant, mae yn ddiammeu, byddant yn fwy llwyddiannus nag yr ydym ni; ond nis gallant gael gwirioneddau mwy. Gallant feddu talentau

mwy dysglaer, ond nid uwch pynciau. O! gadewch i Ysbryd Duw fyned allan yn awr gyda'r groes, a byddai i'r holl fyd gael ei droi yn un maes Adfywiad ardderchog! "Aiff teyrnasoedd y byd yn eiddo i'n Harglwydd ni a'i Grist ef!"

IV. Y MAE IACHAWDWRIAETH, BYWYD, A DEDWYDDWCH, YN CAEL EU SICRHAU I'R PENAF O BECHADURIAID TRWY Y GROES. "Sef, bod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg Ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau."

Yma mae Duw yn gwaeddi, "Nid oes lidiogrwydd ynof." Y mae Duw yn awr yn disgyn ar fynydd Calfaria, ac yn cyhoeddi ei enw: "Yr Arglwydd, yr Arglwydd Dduw, trugarog a graslawn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd; yr Hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd, gan faddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod!" Duw, yn yr hen amserau, a gyfarfyddai yr archoffeiriad wrth y drugareddfa, yr hon oedd gysgod ac arddangosiad o'r groes; a'i lais yn awr trwy efengyl Crist, yn gystal a'r pryd hwnw trwy ddeddf Moses, ydyw, "Mi a gyfarfyddaf â thi yno." Darfu i waed Crist ddiffodd fflamau cynneuol digofaint Jehofah, pan y tywalltwyd ef ar Galfaria; ac yn awr y mae yn boddi gelyniaeth pechod yn nghalon y gwrthryfelwr, pan y cymhwysir ef gan yr Ysbryd sanctaidd. Gwaed y groes sydd yn cymmodi y pechadur â Duw; a'r cyfiawnder a weithiwyd ac a orphenwyd ar y groes sydd yn cyfiawnhâu y pechadur yn ngolwg Duw. Y mae Duw yn "ffyddlawn a chyfiawn" trwy y groes, "fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhäo oddiwrth bob anghyfiawnder." Trwy y groes y mae gweithredoedd a bwriadau y Duwdod oll yn cael eu cyflawni; a hi yw y sianel fawr trwy yr hon y rhêd holl olud cariad, gras, a thrugaredd, i ddiwallu a chyfoethogi yr enaid crediniol. Trwy y groes y mae etholedigaeth gras yn sicrhâu ei holl deulu, a thrwy yr un cyfrwng y mae hen gyfammod hedd yn anfon allan ei gyflenwad cyfoethog o fendithion achubol. "Yn yr Hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed Ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras Ef." O bechadur truan! na fydd ofnus i gyfarfod dy Wneuthurwr a'th Farnwr, pan y mae genyt y groes yn y golwg. Pob awel sydd yn chwythu dros fryn Calfaria, sydd yn gwasgar ar ei ffordd iachawdwriaeth, bywyd, a thangnefedd, i'r pechadur edifeiriol. Pererin Bunyan a gollodd

ei faich wrth y groes. Felly y gwnei dithau, bechadur truan a chrynedig. Tyred, ynte, gyda'th holl anghenion, gyda'th holl drueni, gyda'th holl glwyfau; ac yma ti a ddiwellir, yma ti a gei iachâd.

"Euogrwydd fel mynyddau 'r byd
Dry 'n ganu wrth dy groes!"

V. Y GROES YW FFYNNONELL HOLL NERTH, DYDDANWCH, A LLAWENYDD, Y CREDADYN.

Gwrandewch ar y testun, "Na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist." Mae y credadyn yn dyfod yn gawr pan y mae yn cymeryd ei safle ar Fynydd Calfaria, ac yn ymladd o dan gysgod y groes. "A hwy a'i gorchfygasant ef trwy waed yr Oen." Ië, y mae efe yma "yn fwy na choncwerwr, trwy yr Hwn a'i carodd." Trwy y groes y mae yn gwthio ei elyn o'i flaen, ac yn "gyru byddinoedd yr estroniaid i gilio." Pan y mae yr Ysbryd Glân yn gogoneddu Iesu Grist, y mae yn gwneyd hyny trwy gymeryd o eiddo Crist, a'i fynegi i'r credadyn. "Fy Arglwydd a'm Duw," medd Thomas, pan y canfyddodd drachefn ei Feistr anwyl wedi adgyfodi. Mae anghrediniaeth yn rhoi ffordd, a ffydd yn gorchfygu a buddugoliaethu, pan y mae y groes yn dyfod i'r golwg. "Yr Hwn, er nas gwelsoch, yr ydych yn ei garu; yn yr Hwn, heb fod yr awrhon yn ei weled, ond yn credu, yr ydych yn mawr-lawenhâu â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus." O fy mrawd anwyl! os wyt yn dymuno llawenydd yr iachawdwriaeth, a blaenbrawf o'r dedwyddwch nefol, nid yn nyffryn Hinnom y gelli ei sicrhâu, nid yn nghymysgfa Babel, nac ychwaith yn ngwastadedd Sodom, ond yn uchel ar gopa Calfaria, ac yn bur agos i droed y groes. "Dring i fyny yma."

VI. Y GROES A FYDD BYTH MEWN COFFADWRIAETH ORFOLEDDUS A BUDDUGOLIAETHUS YN ARDALOEDD GOGONIANT.

Bydd y groes yn bren ffrwythlawn byth yn y baradwys fry. Bydd yr holl sypiau o lawenydd yn cael eu casglu oddiar ei gangenau. "I'r Hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau trwy ei waed ei hun," &c. Croes Crist fydd y pryd hwnw yn goron y Cristion. Trwy y groes efe a gaiff deyrnasu mewn gogoniant. Mae y groes yn casglu pechaduriaid yma am

awdwriaeth, a hi a gasgl holl saint Duw i'r nefoedd, ynhâu dedwyddwch tragywyddol a chyflawn. O an- ‑d ! yr ydym ni yn bwriadu ymneillduo cyn bo hir, i ar gyfoeth y groes, ac i deyrnasu fel tywysogion dros ı trwy ei hawdurdod hi. Glynwch wrth y groes, ynte, diriedwch ynddi, ymorphwyswch arni, ac ni lithrwch i ddim byth. "Dyddenwch eich gilydd â'r ymadlion hyn." Amen, Amen.

# PREGETH XXX.

## MAB DUW YN NATUR EI FRODYR.

## GAN Y PARCH. DAVID EVANS, DUDLEY.*

**"Oblegid hyny, gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau; fel trwy farwolaeth y dinystriai Efe yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo, hyny yw, diafol; ac y gwaredai hwynt y rhai trwy ofn marwolaeth oeddynt drwy eu holl fywyd dan gaethiwed."—HEBREAID ii. 14, 15.**

DADLEUA yr Apostol, yn y bennod hon, y dylem wrando yn fwy astud a gofalus ar yr hyn a lefarwyd gan ein Harglwydd Iesu Grist; ac na ddylem unrhyw amser eu gadael i ymlithro ymaith. Dyga bedwar o resymau cryfion a chadarnhäol dros hyn. Y cyntaf a ymgoda *o fawredd ac urddasolrwydd y Llefarwr.* Angelion a lefarasant o dan yr hen oruchwyliaeth; anwylfab Duw o dan y newydd. Jehofah a roddodd y cyntaf, ond barn gyffredinol yr Iuddewon oedd iddi gael ei rhoddi trwy offerynoldeb angelion. Yr oedd hon yn gadarn, ac nis gellid ei throseddu heb dderbyn cyfiawn daledigaeth. Pa faint cadarnach yw yr hon a sefydlwyd gan Arglwydd y gogoniant; a pha faint mwy annhebygol y diangwn ni "os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" Yr ail a ymgoda *o'r anrhydedd a dderbyniodd oddiwrth ei Dad fel Gwaredydd ei bobl.* Darfu i Dduw "gyd-dystiolaethu, trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a doniau yr Ysbryd Glân, yn ol ei ewyllys ei hun," er profi yn y modd grymusaf eirwiredd yr hyn a lefarwyd gan y Mab, a'i deilyngdod o barch cyffredinol ac o dderbyniad diysgog. Darostyngodd iddo hefyd "y byd a ddaw"—yr oes Gristionogol, neu y cyfnod ag oedd i ganlyn yr oes Iuddewaidd, "a gosododd bob peth o dan ei draed Ef, ac ni adawodd efe ddim heb ddarostwng iddo." Yr oedd y byd hwn, ar y cyntaf, o dan arglwyddiaeth dyn; ond càn

*** Traddodwyd y bregeth hon yn Nghymanfa y Bedyddwyr yn Nghaernarfon, Gorphenaf 4, 1860.**

gynted ag y darfu i ddyn wrthryfela yn erbyn ei Greawdwr, fe gollodd ei awdurdod dechreuol, a syrthiodd yn aberth i filoedd o alluoedd cryfach nag ef ei hun. Ond yn llaw yr Iesu, canfyddir y deyrnwialen wedi ei hadferyd, a phob peth yn ddarostyngedig i'w arglwyddiaeth—y gwyntoedd a'r moroedd, y byd anifeilaidd a'r byd llysieuog, heintiau a chlefydau, yn plygu i'w awdurdod. Priodol iddynt yw talu sylw i'r hyn a ddyweda. Y trydydd a ymgoda *o'i dynerwch a'i berthynas agos â ni*. Er yn Arglwydd y greadigaeth, eto y mae wedi uno ei hunan â ni i'r fath raddau, fel y mae yr Hwn "sydd yn sancteiddio, a'r rhai a sancteiddir, yn un"—un natur, un ysbryd, un teulu. Mor agos yw ei berthynas â ni, fel nad oes arno gywilydd i'n galw yn frodyr. Ei gariad a'i dynerwch a hawlia ein sylw. Y pedwerydd a ymgoda o *fawredd a graslonrwydd y gwaith a gyflawnodd ar ein rhan*: "Oblegid hyny, gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed," &c.

Ar bwys y geiriau gwnawn y nodiadau canlynol:—

I. FOD ANWYLFAB DUW WEDI YMDDANGOS YN NATUR EI FRODYR.

Mae yn ymherodraeth y Duw mawr liaws o wahanol naturiaethau, o natur y cerub urddasolaf i lawr i natur y llysieuyn gwaelaf. Y natur ymha un yr ymddangosai ei "frodyr" oedd yr un ddynol, a dyma y natur a gymerodd yr Iesu arno. "Fe'i cawd mewn dull fel dyn." Llefara dynion yn amlach am ddwyfoldeb Crist nag am ei ddynoldeb; ond llefarai Crist ei hun yn fynychach am ei ddynoldeb nag y gwnai am ei ddwyfoldeb. "Mab y dyn" oedd yr enw ymha un yr ymhyfrydai, ac a barhâus ddefnyddiai. Nid oes dim yn afresymol nac yn anmhriodol yn hyn. Naturiol yw i un lefaru am y newydd a'r rhyfeddol. Peth newydd i'r Iesu oedd ymddangos mewn dynoliaeth; peth newydd i ddynion oedd gweled dwyfoliaeth yn eu natur. Yr oedd yr Iesu yn hollol gyfarwydd â dwyfoldeb, ond nid felly â dynoldeb; yr oedd dynion yn gyfarwydd â dynoldeb, ond nid â dwyfoldeb. Hen beth i'r Iesu oedd byw yn y nef, ond peth newydd i fyw ar y ddaear. Hen beth i ddynion oedd byw ar y ddaear, ac ymgyfeillachu â daearolion, ond peth newydd oedd cael un o breswylwyr y nef i drigo yn eu plith. O herwydd hyn, llefarai y ddwy blaid am y peth newyddaf a rhyfeddaf iddynt: yr Iesu am ei ddynoldeb, a dynolryw am ei ddwyfoldeb.

Mewn perthynas i ymgnawdoliaeth y Cyfryngwr, mae genym ychydig o sylwadau i'w gwneyd.

*Un peth yw y ffaith ei hun.* Nid tybiant neu ddychymyg yw ymgnawdoliaeth Crist, eithr ffaith sefydledig ac anirnadadwy. Byddai yn llawn mor rhesymol i ddynion yn bresennol ymdrechu gwrthbrofi eu bodolaeth eu hunain, a gwrthbrofi ymddangosiad Crist yn y cnawd. Byddai yn llawn mor bosibl i wthio yr haul o'r ffurfafen, a symud ymaith y ffaith hon o groniclau hanesyddiaeth amser. Mae wedi dodi amseriad newydd i oes y byd, ac wedi plethu ei hun â holl sefydliadau goleuedig y ddaear, yn gystal ag â llênyddiaeth pob cenedl wareiddiedig. Cyfododd enwad o ddynion a wadent wir ddyndod Crist, ac a ymdrechent brofi nad oedd yr hyn a welid o hono ond ymddangosiad awyrol—cysgod, neu rith; ond diflanasant yn fuan oddiar wyneb y ddaear. Grymus, lliosog, cyson, ac unol, ydynt y tystiolaethau a wrthbrofant y fath dyb. "Wele morwyn a fydd beichiog, ac a esgor ar fab, a hwy a alwant ei enw ef Emmanuel"—Duw gyda ni—Duw yn ein natur ni. "Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Nid "dirgelwch duwioldeb," nac unrhyw grëadur daearol, eithr Duw, a ymddangosodd yn y cnawd—yn y natur ddynol. Nid ymddangos trwy roddi ynddi ddadblygiadau o'i ddoethineb, ei allu, a'i ddaioni, fel ei Chrëwr, fel y gwna ymhob crëadur arall; ond trwy ei chysylltu â'i natur ei hun, ac ymddangos ynddi yn nghyflawnder ei Dduwdod. "Yr Hwn, ac Efe yn ffurf Duw...a ddibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion." Ymwisgodd yn holl briodoleddau y natur ddynol. Ymaflodd ynddi yn ei gwendidau. Fe fu "gyfranog o'r un pethau" a'r plant. Nid oedd y gwahaniaeth lleiaf rhwng ei ddyndod Ef a'r eiddynt hwy, oddieithr yn eu cyflwr; yr oedd un yn llygredig a'r llall yn ddilygredd. Yr oeddynt yn blant yr un Tad, a brodyr o'r un natur. "A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni." Y Logos tragywyddol a ddaeth i'r fath undeb agos â dynoliaeth yn Mherson y Gwaredwr, fel y gellir dyweyd gyda phriodoldeb iddo ddyfod yn ddyn. Nid agosach yr undeb rhwng yr enaid a'r corff yn y person dynol, na'r un sydd rhwng dwyfoldeb a dynoldeb yn Mherson yr Emmanuel. Nid yn unig fe ymgnawdolodd, ond fe "drigodd yn ein

plith." Fel y darfu i'r Shechinah drigo yn y tabernacl, felly y darfu i'r Gair drigo yn ein plith ni. Preswyliodd, fel y plant eraill, yn yr un annedd.

Ymwelwyd â'n byd ni o'r blaen gan y Duw mawr; ond fel yr agosäi ato, y mellt a wylltient gan fraw, y taranau a ruent gan ddychryn; a phan y darfu iddo ond cyffwrdd â rhan o hono, ymgynhyrfai o begwn i begwn. Y mynydd ar ba un y disgynodd ei droed a fygodd ar bob llaw, "a'i fŵg a ddyrchafodd fel mŵg ffwrn, a'r holl fynydd a grynodd yn ddirfawr, fel y dychrynodd yr holl bobl oedd yn y gwersyll." Ond er i'r Hollalluog ymweled â'n byd ni, ni arosodd yma ond enyd fechan. Darfu i angelion lawer tro dalu ymweliad â ni, ond ni thrigasant yn ein plith. Yr oedd ein lletty yn rhy wael, a'n bwrdd yn rhy dlawd, i'w *entertaino* hwy ond am ychydig amser. Yr oedd ein gwisg yn rhy garpiog, ein hiaith yn rhy isel, a'n cymdeithas yn rhy wael a difoes, iddynt hwy feddwl am drigo yn ein plith. Y wenynen a ddisgyn ar y blodeuyn, ond os na fydd yno fêl, lleda ei hadenydd yn union deg, ac eheda ymaith. Preswylwyr paradwys a ymwelsant â'n daear ni, ond nid oedd yma flodau digon hardd, na ffrwythau digon melus, i'w llithio i aros braidd am fynyd awr; o ganlyniad, dychwelasant adref yn ddioed i'w gwlad eu hunain, lle y porthir hwy â danteithion mwy melus, ac y difyrir hwy â golygfëydd mwy swyngar, nag a feddir gan ein daear ni. Ond am Iesu "fe drigodd yn ein plith." Preswyliodd yn ein bwthyn gostyngedig, ymborthodd wrth ein bwrdd, ymddilladodd yn ein gwisg, ymgyfeillachodd â ni am flynyddoedd lawer. Rhoddodd i ni ddigon o gyfleusderau i'w adnabod yn hollol, ac i ganfod y meddai ar ein natur i'r perffeithrwydd pellaf. Er gwaeled ein gwedd, ac er iseled ein cymeriad, ymgymdeithasodd â ni heb betrusedd—yn y dirgel ac yn yr amlwg, ar y mynydd ac ar y dyfroedd, yn y ddinas ac ar y traeth; ac os diystyrid ni gan *visitors* eraill a ymwelsant â'n trigle wael, nid oedd arno Ef gywilydd i'n galw yn frodyr.

*Bodolai yr Iesu cyn ei ymddangosiad yn y cnawd.* Nis gellir dyweyd, gydag un gradd o briodoldeb, iddo gyfranogi o gig a gwaed, oddieithr ei fod mewn bod cyn hyny. Bodolai mewn rhyw fodd arall cyn iddo gymeryd arno agwedd gwas. Llawenychai yn nghyfanneddle'r ddaear

cyn iddo ymddangos ymhlith ei phreswylwyr. Yr oedd yn Fab hoff i'w Dad cyn iddo ymddangos yn fachgen yn y preseb. Yr oedd yn hyfrydwch beunydd i Arglwydd y lluoedd cyn iddo ddyfod i wneuthur ei ewyllys ar y ddaear. Trigai yn mynwes ei Dad fel ei blentyn meithrinedig, cyn sylfaenu y mynyddoedd, na ffurfio y bryniau; pryd nad oedd dyfnder, cyn gwneuthur o hono ef y ddaear, na'r meusydd, nac uchder llwch y byd; pan barotôdd y Duw mawr y nefoedd, ac y gosododd Efe gylch ar wyneb y dyfnder; pan gadarnhäodd Efe y cymylau uwchben, a phan nerthodd Efe ffynnonau y dyfnder; pan roddes Efe ei ddeddf i'r môr, ac y gosododd Efe sylfeini i'r ddaear;—yr oedd yr Iesu yno yn dyst o'r cyfan, ac yn ymlawenhâu ger ei fron Ef bob amser. Enneiniwyd Ef i'r gwaith a gwblhäwyd ganddo yn y byd hwn er tragywyddoldeb, cyn bod y ddaear. Nid oedd bodolaeth yn beth dyeithr i'r Iesu pan yr ymddangosodd yn Bethlehem, er fod dynoliaeth yn ddyeithr iddo. Gwyddai beth oedd byw am oesau ddirif cyn iddo ymaflyd yn had Abraham.

*Meddai ar allu i ymddangos ymha natur bynag yr ewyllysiai.* Gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, ymgyfranogodd yntau o'r un pethau. Pe byddent hwy gyfranogion o rywbeth arall, byddai yntau yr un modd. Nid naturiaeth angelion a gymerodd Efe—gallasai ymaflyd yn hono pe yr ewyllysiasai—eithr had Abraham. Ni wyddom ni am y ffurfiau afrifed o fodaeth a breswyliant yn y nef, nac am y lluoedd aneirif o wahanol ddulliau ac agweddau ymha rai yr ymddengys hanfodaeth trwy ymherodraeth ëang y Jehofah anfeidrol. Darllenwn am angelion ac archangelion, cerubiaid a seraphiaid, tywysogaethau ac awdurdodau, thronau ac arglwyddiaethau, Michael a Jeremiel, Raphael ac Uriel, ser y boreu a meibion Duw; a diau bod miloedd ar filoedd o ffurfiau eraill na chlywsom ni son am danynt erioed yn hanfodi o fewn i derfynau y grëadigaeth ëang; ond yn eu plith oll nid oedd na ffurf na naturiaeth na allasai yr Iesu ymddangos ynddi. Y mae bodolaeth, yn ei holl agweddau, o dan ei arglwyddiaeth Ef, ac yn ddarostyngedig i'w ewyllys. Nid oes gan grëadur, pa mor uchel bynag y byddo, yn nghlorian bodoldeb, un dewisiad yn yr anddull ymha un yr ymddangosa. Ei hanfodaeth, yn gystal a

gwedd a threfn ei hanfodaeth, a ymddibyna yn gyfangwbl ar ewyllys ei Grëwr. Nid oedd gan ddyn nac angel un llais yn eu crëadigaeth. Pa un a fyddent, a pha beth a fyddent, a orweddai yn hollol gyda'r Bôd mawr. Ond dyma un yn dewis drosto ei hun, ac yn ymddangos yn y natur ac yn yr agwedd a feddyliai yn briodol. Dyma Arglwydd ar naturiaeth ei hun!

*Teimlai ddyddordeb synfawr yn y natur ddynol.* Paham y darfu iddo fantellu ei hun mewn gwisg o gnawd sydd ddirgelwch na fedr y cerub llygadgraff mo'i dreiddio na'i ddehongli. Nid digon yw dyweyd fod yr hil ddynol yn sefyll mewn anghen o'i gyfryngwaith. Yr oedd eraill yn sefyll mewn cymaint o anghen a hwythau. Dyna dyrfa o angelion, rif y tywod mân, wedi syrthio o uchel-leoedd gogoniant a dedwyddwch, ac wedi disgyn i ddyfnderoedd gwae a thrueni. Safant mewn cymaint o anghen iachawdwriaeth a phlant y ddaear; ond nid oes calon yn curo drostynt, na braich yn cael ei hestyn allan er eu gwaredu. "Ni chymerodd Efe naturiaeth angelion." Aeth heibio iddynt oll, ac ymaflodd yn y natur ddynol, a orweddai yn ei gwaed a'i thrueni, ar faes llygredigaeth ac euogrwydd. Gwisgodd hi am dano, er ei phuro, ei gwaredu, a'i dedwyddu. Dyma ryfeddod y rhyfeddodau. Ymhell cyn iddo ymddangos mewn cnawd, pan yn orseddedig mewn anrhydedd a gogoniant, ac yn amgylchynedig gan bob peth a fedrai ei wneuthur yn anfeidrol ddedwydd, edrychai gyda llawenydd ar y bellen ddaearol, ac ymhyfrydai yn meibion dynion. Y Salmydd, pan yn edrych ar y nefoedd, gwaith bysedd yr Ior; y lloer a'r ser, y rhai a ordeiniodd,—a synai uwchben ei ddaioni tuag at ddyn yn ei grëadigaeth a'i ragluniaeth; ond dyma destun rhyfeddach i synu uwch ei ben—Tywysog y gogoniant, prif wrthddrych hyfrydwch y Duw Mawr, y Person o amgylch pa un yr oedd ei serchiadau wedi ymgasglu er tragywyddoldeb, yn ymhyfrydu yn mhlant marwolaeth, ymaflyd yn eu natur, a phenderfynu ei haddurno a'i dedwyddu byth!

*Gwna y ffaith hon osod gogoniant digyffelyb ar y natur ddynol.* Yr oedd dynoliaeth unwaith yn isel; ond y mae hi yn awr yn uchel. Nis gwyddom pa faint o raddau o ogoniant a all fodoli yn y gwahanol naturiaethau a hanfodant yn ymherodraeth Duw, ond credwn nad oes yr un a saif mor uchel a naturiaeth dyn. Rai gweithiau, pan

yr edrychaf ar y natur ddynol yn archolledig gan bechod, wedi ei gwarthnodi gan gamwedd, yn ymdreiglo mewn halogedigrwydd, ac yn ymdrybaeddu mewn pob ffieidd-dra, teimlaf arnaf gywilydd fy mod yn perthyn iddi; ond pan yr edrychaf arni mewn undeb â dwyfoliaeth yn Mherson y Cyfryngwr, fy mynwes a ymchwydda gan orfoledd, a'm gwefusau a lenwir â moliant, am mai dyn ydwyf. Os oedd fy natur unwaith yn ymdroi yn nyfnder-oedd iselaf gwarth ac aflendid, y mae hi yn bresennol yn orseddedig yn y drydedd nef. Os oedd hi unwaith yn orchuddiedig gan gymylau duon, mae hi erbyn heddyw wedi ei gwisgo mewn mantell o oleuni, dysgleiriach na'r haul yn ei glaerder canolddydd. Naturiaeth dynion yw yr un sydd yn awr yn eistedd yn nghanol yr orseddfainc yn y llys nefol, i awdurdod pa un yr ymblyga pob angel, wrth draed pa un y tafla pob crëadur ei goron, ac i deilyngdod a mawl pa un y gwna y miloedd o filoedd, a'r myrddiynau o fyrddiynau, o breswylwyr harddwych gwlad y dydd, chwareu eu telynau euraidd, a phyncio eu caniadau pêr. Mae gan angelion fwy o achos cenfigenu wrth ddynion, nag sydd gan ddynion i genfigenu wrth angelion. Trwy ein hundeb â'r Gwaredwr, codwyd ni i binacl uchelaf bodoldeb. Ein brawd yw Llywydd y nef-oedd, ïe Arglwydd y grëadigaeth.

"Mae'r undeb yn awr yn agosach,
Rhwng uchel Benllywydd y nen
A'r dynion a gollwyd yn Eden,
Na'r angel sydd uchaf ei ben!"

II. IDDO YMDDANGOS YN NATUR EI FRODYR ER MWYN MARW YNDDI: "Fel trwy farwolaeth."

Un dosbarth o ddynion a wnant yn rhy fach o fywyd Crist. Dosbarth arall a wnant rhy fach o'i angeu. Y ffaith yw fod y ddau o'r pwys mwyaf i ni. Yn ei fywyd rhoddodd iawn i ddyn, ac yn ei angeu rhoddodd iawn i Dduw. Nis gallem hebgor yr un o honynt. Yr oedd ei *fywyd* o annhraethol werth. Rhoddodd i ni yr addysg-iadau gwerthfawrocaf, y moeswersi puraf, yr athrawiaeth-au dyfnaf a phwysicaf, ynghyd a'r esiampl berffeithiaf a ellid gyflwyno i sylw dyn neu angel. Yr oedd ei fywyd megys blodeuyn hardd, rhosyn Saron neu lili y dyffryn-oedd, yn anialwch diffaeth y byd. Ymddangosai fel seren ddydd, yn ffurfafen gymylog a thywyll y ddaear.

Yr oedd yn fath o gylchgrawn symudedig o addysg, yn drysorfa orlawn o fendithion, yn *fodel* perffaith o rinwedd, yn gronfa ymchwyddedig o ddaioni, yn ffordd uniawn i'r nef. Ni fedr neb ddodi gwerth ar ei fywyd. Meddai ar wiwdeb a gogoniant na ddaeth i galon dyn erioed ddychymygu. Er hyny ei farwolaeth yw y mwyaf gwerthfawr. Ni fedrai ei fywyd, gogoneddus ac anmhrisiadwy fel ag oedd e, symud ymaith euogrwydd, nac achub yr un enaid colledig. O herwydd hyny rhoddir llawer mwy o *brominency* yn y gyfrol Ddwyfol i angeu'r Iesu nag i'w fywyd. Ei angeu yw baich yr Ysgrythyrau, canolbwynt pob athrawiaeth Gristionogol, nerth pob gorchymyn, bywyd pob addewid. Dyma destun y Dadguddiad Dwyfol o'i ddechreu i'w ddiwedd. Hwn a ymdreiddia fel *electricity* trwy ei du dalenau oll. Dyma galon yr efengyl, dyma enaid Cristionogaeth. Yn angeu'r groes y gwna holl fyfyrdodau y byd Cristionogol gydgyfarfod, a holl ryfeddodau y bydysawd *centro*. Dyma'r canolbarth o amgylch pa un yr ymgasglai bwriadau a chynghorion tragywyddoldeb. "Oen wedi ei ladd er cyn seiliad y byd." Dyma'r *point* at ba un y cyfeiriai yr hen oruchwyliaeth. Pob aberth a offrymai, a phob cysgod a ddaliai allan, a gyfeirient at farw'r Iesu. Hyn oedd baich y prophwydoliaethau, a swyn yr addewidion. Ni wnai y preseb a Bethlehem ond rhagbarotöi at hyn. Pan yr ymwelwyd âg ef ar fryn y gweddnewidiad, gan genadon o'r byd anweledig, pwnc eu hymddyddanion oedd ei "ymadawiad, yr hwn a gyflawnai Efe yn Jerusalem." Fel yr agosäi at Golgotha, daw'r olygfa yn fwy cyffröus a thymhestlog, nes o'r diwedd y daw mor gynhyrfus, argraffol, ac ofnadwy, fel yr ymgollwn ynddi mewn syndod, mawl, a dychryn.

Gwnawn bedwar o nodiadau ar y rhan hon o'n testun. Gwna'r ffaith i'r Iesu gymeryd arno natur ei frodyr, er mwyn marw, ddangos *mai nid peth damweiniol oedd ei farwolaeth*. Rhai a haerant iddo syrthio yn ysglyfaeth i elyniaeth a chynddeiriogrwydd ei elynion, fel rhyw ferthyr arall; ac nad oedd ei angeu ond peth dygwyddiadol. Nis gellir cymmodi y dyb yna â geiriau ein testun, nag ychwaith âg un rhan arall o'r gair ysbrydoledig. Hen fwriad gan Iesu oedd marw. Nid oedd ei ymgnawdoliaeth ond moddion er ei gymhwyso i hyn. Angeu

na rhychwant a fedr *spano* effeithiau'r gwaed, na mesur a fedr gynnwys gwerth yr Iawn.

"Mae angeu 'r groes yn drech na 'u dawn!"

Mae'r farn mae Iesu ei hun wedi ei ffurfio o'i angeu yn warant i ni na allwn ni byth feithrin tyb ry fawr ac uchel am dano. Y groes yw bywyd y ddaear; y groes yw llawenydd y nef.

III. Iddo farw er mwyn cyflawni dau ddyben pwysfawr a gogoneddus. "Fel trwy farwolaeth y dinystriai Efe yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo, ac y gwaredai hwynt," &c.

Awgryma y testun ddau o bethau. Un peth, *Fod gan y diafol nerth ar farwolaeth.* Pa faint a gynnwysir gan y dywediad, "Yr hwn sydd â nerth marwolaeth ganddo," nis gwyddom. *Professor* Stuart a'i cyfieitha, "Yr hwn sydd â nerth marwol ganddo." Y nerth a fêdd yw y nerth a drawsddena dynion i bechod; a phechod, pan y cyflawnir, a esgor ar farwolaeth. Trwy lithio ein rhieni cyntaf, arweiniodd angeu i mewn i'n byd ni; a thrwy barhâu i ddefnyddio ei hudoliaethau, llwyddodd i ddwyn miloedd o blant y codwm o dan y ddedfryd o farwolaeth dragywyddol. Angeu yw y dienyddwr, i ofal pa un y cyflwyna y diafol bawb a arweinir ganddo i dir pechod— y gwas sydd bob amser yn barod i wneuthur ei ewyllys. Soniai y cynoesolion lawer am "Sammael," angel marwolaeth, a darlunient ef mewn llawer o ffyrdd; ond ni fedrai Sammael wneuthur dim ond fel y rhodiai yn ôl traed, ac y canlynai orchestion, y diafol. Mor gynted y llwyddai y diafol yn ei hudoliaeth, deuai Sammael i mewn i hawlio ei ysglyfaeth. "Diwedd y pethau hyn yw marwolaeth." Caethion y diafol yw ebyrth angeu, gweision pechod yw deiliaid brenin y dychryniadau. "Nerth marwolaeth." Dengys y geiriau yn yr iaith wreiddiol mai nid gallu cyfreithlawn sydd ganddo, ond gallu trawsfeddiannol (το χρατος)—gallu gormeswr dros gaethion a hudwyd gan dwyll, neu a orthrechwyd gan nerth. Nid teyrnas o ryddid yw teyrnas y diafol, ond teyrnas o ormes, o greulondeb, a thwyll. Rhyfeddwn wrth ddarllen y newyddiaduron am y gormes a fodola yn nheyrnas Naples, a'n gwaed a oera yn ein gwythienau wrth glywed am y creulonderau a arferir yno. Ond, wrandäwyr! dyma

deyrnas fwy gormesol, teyrnwialen fwy haiarnaidd, caethiwed mwy truenus, a chreulonderau mwy gwaedlyd ac ysgeler, nag a glywyd son am danynt erioed mewn cysylltiad âg un lywodraeth arall. Nid oes yn y deyrnas hon neb ond caethion, nid oes yma yr un gwasanaeth ond creulondeb, nid oes yma yr un gyflog ond marwolaeth.

Peth arall a awgrymir gan y testun yw, *Fod rhywrai holl ddyddiau eu bywyd dan gaethiwed, o herwydd ofn marwolaeth.* Nid oedd neb yn rhydd oddiwrth yr ofn hwn.

*Un dosbarth a ofnent angeu ei hun.* Ni wyddent ddim am ei ganlyniadau, ond ofnent ei ddyrnodiau. Yr oedd tri neu bedwar o bethau mewn cysylltiad âg angeu a gynnyrchent bryder ac ofn. Un *oedd ei loesion.* Y wasgfa olaf a ymddangosai yn galed, yr ergyd yn drwm, y brathiad yn boenus, y dòn yn oer, y dyffryn yn arw. Peth arall *oedd yr amgylchiadau cydfynedol âg ef.* Dystawrwydd yr awr, terfyniad pob gobaith a bwriad, tristwch cyfeillion, dagrau ceraint, wylofain perthynasau, ymddifadiad llwyr o bob peth a gerid ac a werthfawrogid, cymylau a thywyllwch y glŷn. Y trydydd peth *oedd erchyllrwydd ac adgasrwydd y bedd.* Ymddangosai mor anghyfannedd, heb ynddo na gwaith na dychymyg, doethineb na gwybodaeth; mor ddu a thywyll, "tir tywyllwch a chysgod angeu, tir tywyllwch fel y fagddu, a chysgod angeu, ac heb drefn; lle y mae goleuni fel y tywyllwch;" mor orlawn o ffieidd-dra a llygredigaeth, derbynle pob peth gwywedig a marwol, cuddfa cnawd madreddog ac esgyrn dadfeiliedig, lle y dyfethir pob peth sydd gywrain, ac y pydrir pob peth sydd wych a hardd. "Disgynwyd dy falchder i'r bedd: tanat y taenir pryf; pryfed hefyd a'th döant." Y peth arall *oedd y tebygolrwydd o ddiddymiad.* Pawb dynion a ofnent ddiddymiaeth. Mae *self-preservation* yn reddf naturiol wedi ei phlanu ynom gan ein Crëwr. Dynion a sychedant am anfarwoldeb. Cerfiant eu henwau ar bob maen a phren. "Enwant eu tiroedd ar eu henwau eu hunain; oblegid eu meddwl yw y pery eu tai yn dragywydd, a'u trigfeydd hyd genedlaeth a chenedlaeth." Gwnant bob peth er trosglwyddo eu coffadwriaeth i'r oesau dyfodol. Ond angeu a ymddangosai yn elyn creulawn ac anghymmodlawn i'r teimlad yna. Edrychid ar angeu fel diffoddydd bythol ar lusern bywyd. Edrychid ar y bedd fel carchar du, caffaeliad pa un ni

waredid byth. Pob gobaith a drengai yn y bedd. "Efe a ä at genedlaeth ei dadau, ac ni welant oleuni byth. Fel y derfydd y cwmwl, ac yr ä ymaith, felly yr hwn sydd yn disgyn i'r bedd, ni ddaw i fyny mwyach; ni ddychwel mwy i'w dŷ, a'i le nid edwyn ef mwy." "Y mae gobaith o bren, er ei dori, y blagura efe eto, ac na phaid ei flagur ef a thyfu; ond gŵr a fydd marw, ac a dorir ymaith, a pha le y mae? Fel y mae y dyfroedd yn pallu o'r môr, a'r afon yn myned yn ddihyspydd, ac yn sychu; felly gŵr a orwedd ac ni chyfyd: ni ddihunant ac ni ddeffröant o'u cwsg!"

*Dosbarth arall a ofnent y canlyniadau.* Gwyddent nad oedd angeu i osod terfyn ar eu bodolaeth, er y gosodai efe derfyn ar yr agwedd ymha un yr ymddangosent yn bresennol. Credent yn modoldeb byd arall, a gwyddent mai angeu oedd yr arweinydd i'r byd hwnw. Canlynid angeu gan dri o bethau a ofnent. Un *oedd y byd anweledig.* Nid peth bach ei bwys yw myned i mewn ar unwaith i fyd mor ddyeithr—i fyd mor orlawn o sylweddau ac o ryfeddodau. Mae meddwl am lànio ar wlad mor synfawr yn ddigon i beri i'r *emigrant* deimlo yn bryderus ac ofnus. Dyma'r trawsfudiad rhyfeddaf ag y gwyddom ni am dano. Peth arall *oedd y farn.* "Gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn." Mae golwg ar yr orseddfainc wèn fawr, a'r Hwn a eistedd arni, oddiwrth wyneb yr Hwn y fföa y ddaear a'r nef, yn ddigon i beri i ddynion ddychrynu. Golwg ar y llyfrau, gyda'r ymwybodolrwydd fod ynddynt lïaws mawr o bethau yn ysgrifenedig yn eu herbyn, a bâr i ddynion welwi. Y trydydd peth *oedd y gosbedigaeth.* Y farn a gyhoedda ei dedfryd ar y condemniedig. Euogrwydd a dŷn ato ei hun dân uffern, fel y tŷn y dur y fellten. Hyn a wnai angeu yn ddychrynllyd. Hyn a roddai fîn i'w gleddyf, a gwenwyn i'w saeth. "Ac mi a edrychais; ac wele farch gwelwlas; ac enw yr hwn oedd yn eistedd arno oedd Marwolaeth, ac yr oedd Uffern yn canlyn gydag ef."

Wel, beth oedd dybenion angeu'r Iesu mewn perthynas i'r pethau hyn? Y dybenion oeddynt gorchfygu y diafol a marwolaeth, a gwaredu eu caethion. Ystyrir Satan ac Angeu fel dau elyn mewn cyfammod â'u gilydd —yn cydgynghreirio yn erbyn trigolion y ddaear; y naill yn sicrhâu y cadwynau a wnawd gan y llall—un yn gorphen yr hyn a wnaeth y llall ddechreu. Bwriadai yr

Iesu trwy ei farwolaeth orchfygu'r ddau, yn gystal a dadwneyd yr hyn ag oeddynt hwy wedi ei wneuthur. A lwyddodd efe yn ei amcan? Do! i'r perffeithrwydd eithaf. Diolch i'w enw! Ar ei ben y byddo holl goronau y ddaear a'r nef! Nid oes neb mor deilwng o'u derbyn. Pa fodd y llwyddodd ef trwy angeu i gyflawni y fath orchestwaith?

1. *Trwy ei angeu, symudodd ymaith yr euogrwydd, pa un a roddai allu i bechod gondemnio, i'r diafol deyrnasu, ac i angeu ddinystrio.* Tra y bodolai euogrwydd, y ddeddf a asgellai ei mellt, a ruai ei tharanau, ac a ddygai ei thymhestl aruthrol, i ymdori ar ben y troseddwr. Tra y bodolai euogrwydd, gallasai'r diafol lywodraethu yn hŷ dros y cyfryw ag oedd wedi ymroddi eu hunain i'w wasanaeth, wedi *listio* o dan ei faner, ac wedi tyngu llw o ffyddlondeb i'w orsedd. Tra y bodolai euogrwydd, gallasai angeu ollwng ei saethau, lladd ei gelaneddau, a'u cadw wedi hyny yn ei garchar llygredig, neu eu traddodi i afaelion yr ail farwolaeth. Ond fe ddarfu i'r Iesu, yn ei farwolaeth, dreiglo ymaith yr euogrwydd, a orweddai fel mynydd o blwm ar gydwybod dynoliaeth, ac a *attractai* i lawr holl fellt a melldithion y nef. Dyoddefodd y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, y Diniwed dros yr euog. Fe ddarfu i'r Hwn na adnabu bechod fyned yn bechaberth dros y troseddwr. Gosododd ei enaid yn aberth dros bechod. Dygodd ein pechodau yn ei gorff ei hun, a dyoddefodd gosbedigaeth ein heddwch; a thrwy hyny gwasgarodd y cwmwl du bygythiol a ymgrogai uwch ben y ddaear, a thaflodd â'i law drugarog enfys amryliw dros wyneb y nefoedd—gwystl o gymmod, a *phledge* na ddinystrid plant y codwm. Fe'i gwrthwynebwyd yn ei amcan gan allu y tywyllwch. Ymgasglodd holl fyddinoedd y fagddu i'w wrthsefyll ar Golgotha. Lledasant eu tywyllwch fel tywyllwch y bedd dros yr olygfa, ac ymladdasant yn eu helfen eu hunain gyda chynddaredd a gwroldeb annesgrifiadwy. Ni bu erioed y fath frwydr a hon. Y ddaear a grynai o dan sathriadau lluoedd uffern, a'r creigiau a ymholltent o herwydd eu twrf.

"A chrynai pob cadarn—ond—calon pechadur!"

Penderfynasant ddefnyddio pob moddion er buddugoliaethu, er rhwystro'r aberth i gael ei offrymu a bod yn

dderbyniol; ond fe wyddai'r Iesu nerth ei fraich cyn anturio i'r ymladdfa; fe wyddai bwys ei droed cyn beiddio'r sarph; fe wyddai werth ei waed cyn ymrwymo i dalu; ac o ganlyniad, nid rhyfedd ei glywed maes o law yn gwaeddi, fel gwron buddugol, "Gorphenwyd." Dyma ben y ddraig wedi ei friwo, cynghreiriau uffern wedi eu dyrysu, gorsedd y nefoedd wedi ei boddloni, a drysau hen gastell marwolaeth wedi eu taflu yn agored. Dyma yn awr ryddid yn lle caethiwed, gobaith yn lle dychryn, bywyd yn lle angeu. Meddyliodd y diafol ddinystrio dynoliaeth, ond dyma foddion er eu gwaredu. Bwriadodd ddyrysu arfaethau, a dymchwelyd dybenion yr Iôr, trwy groeshoelio'r Iesu ar bren; ond dyma foddion i'w siomi. Os condemniwyd y Cyfiawn, rhyddhäwyd yr euog. Os tarawyd y Graig, fe agorwyd ffynnon. Os duodd yr heulwen, gwawriodd y nefoedd.

"Mae nawdd yn y gwânu, mae nef yn y goron;
Mae cân yn ei wylo, mae balm yn ei ddagrau,
A bywyd diderfyn yn tarddu o'i angau!"

2. *Trwy ei angeu, sicrhäodd foddion effeithiol er rhwystro lledaniad teyrnas y diafol a marwolaeth, ac er rhyddhâu eu carcharorion.* Mae tuedd mewn pob gwrthryfelgarwch i *ledu*, ac awydd ymhob gormeswr i ëangu terfynau ei lywodraeth. Mae pechod, yn y byd moesol, yn debyg i *mortification* yn y cyfansoddiad dynol,—ymleda trwy bob rhan o'r corff yn fuan, os na ddefnyddir moddion i'w rwystro. Pechod a ddangosodd ei hun gyntaf yn y nef. Pa faint o galonau pur y darfu iddo eu llygru yno, nis gwyddom. Wedi hyny planodd ei faner yn y byd hwn, ac yn fuan darostyngodd yr holl fyd iddo ei hun, ac eneiniodd Satan fel "tywysog y byd hwn." Pa faint o fydoedd heblaw y byd hwn a gydgorffolid â theyrnas y tywyllwch cyn hir, oddieithr i foddion gael eu defnyddio i rwystro hyny, ni amlygwyd. Y tebygolrwydd yw, y gwnai y diafol wthio ei *gonquests* ymlaen càn belled ag y gallai, a dwyn y bydysawd o dan ei lywodraeth, os medrai. Ond nid gwerth iddo wneuthur un ymdrech mwy; mae'r groes wedi gwywo ei obeithion i gyd. Os oedd pechod, fel llifeiriant cynddeiriog, yn ffrydio rhag ei flaen, gyda nerth a gwylltineb aruthrol, ac yn bygwth gorlifo y grëadigaeth, ac anrheithio y bydysawd, yn marw'r Iesu fe godwyd *embankment* digon uchel

yn ei erbyn—arglawdd digon llydan a chadarn i'w rwystro i fyned fodfedd ymhellach ymlaen. Mae iaith y groes wrth bechod yr un fath a llais y Duwdod wrth y cefnfor, "Hyd yma y deui, ac nid ymhellach." Gwelwyd yn y groes anferthwch pechod, echryslonrwydd ei ganlyniadau, purdeb sancteiddrwydd, cadernid cyfiawnder, a chalon y Duwdod, mewn goleuni nas gwelwyd erioed o'r blaen. Nid oes achos ofni yr ennilla y diafol *golony* arall byth. Mae effaith y gwaed wedi cyrhaedd pob talaeth o ymherodraeth Duw, ac wedi sicrhâu y pur a'r rhinweddol yn eu dedwyddwch byth bythoedd. Mae angeu'r groes wedi codi mur o amgylch y nefoedd, cryfach a chadarnach na thanbeidrwydd yr orsedd, ac na holl berffeithderau y Duwdod!

"Er perffaith burdeb glân y nef,
Sancteiddrwydd Ior, a'i allu Ef,
Aeth pechod yno 'n afon fawr,
Angelion soddodd fyrdd i lawr;
Ond nid ä'r gelyn yno mwy—
Amgaerwyd hi â marwol glwy."

Ni wyddai Gabriel werth ei goron, nac Uriel werth ei delyn, hyd nes y canfyddasant yn nhymhestloedd Gethsemane, a thywyllwch Calfaria, y gwerth annhraethadwy ar ba un yr adferwyd yn ôl y goron a'r delyn a gollwyd gan y pechadur. Mae golygfëydd Golgotha wedi dysgu i engyl y nef werthfawrogi eu breintiau yn fwy nag y gwnaent erioed o'r blaen. Gwna marw'r Iesu hefyd ryddhâu caethion y diafol. Dyma fyd o gaethion. Ni symudant gam ond mewn cadwynau, a dychymygant y clywant sŵn peroriaeth, fel y gwna dolenau eu llyffetheiriau dincio o'u hamgylch. Ymblygant i awdurdod eu gormeswr gyda'r gostyngeiddrwydd a'r parodrwydd mwyaf, a chusanant y llaw a'u fflangellant mor greulawn. "A ddygir y caffaeliaid hyn oddiar y cadarn?" Na wneir byth, ebe rheswm. Na wneir, ebe uffern. Gwneir, medd yr Iesu: "Carcharorion y cadarn a ddygir, ac anrhaith y creulawn a ddianc." Pa fodd y gwareda efe hwynt? A ä efe i mewn i'w plith yn ei ardderchogrwydd a'i orwychder Dwyfol, a dryllio eu cadwynau trwy nerth ei fraich gadarn, dychrynu y gwrthnysig i ufudddod trwy fellt ei ddigter, ac ennill eu calonau trwy belydrau tyner a hynaws ei ostyngeiddrwydd a'i ddaioni?

Na, ni chymera efe ddim ond ei groes yn ei law, a thrwy ei dyrchafu ger bron y cyndyn a'r caeth, y galon ddideimlad a dodda, yr ysbryd gwrthryfelgar a ymblyga, cadwynau y diafol a ymollyngant, a llyffetheiriau llygredd a phechod a syrthiant ymaith, a chaethwas y gelyn a wneir yn etifedd rhyddid.

"Arteithiau Crist a'i glwyfau
Sy 'n dwyn y caeth yn rhydd."

Ei groes a'i gwna yn gryfach na'r cryfarfog, a rydd iddo awdurdod i fyned i mewn i'w neuadd, a'i galluoga i'w rwymo draed a dwylaw, dwyn ymaith ei arfogaeth yn yr hon un yr ymddiriedai, ei yspeilio o'i ddodrefn, a rhanu ei anrhaith. Y groes yw y *channel* trwy ba un y ffrydia dylanwadau i fynwes y pechadur, a'i galluoga ac a'i cynhyrfa i wrthsefyll Satan, a thaflu ymaith ei lywodraeth am byth. Un defnyn o waed y groes, wedi ei gymhwyso gan law ffydd at y galon, a bâr i bob rhwymyn syrthio, a phob afiechyd gilio draw. Darllenwn yn un o ffugchwedlau yr Aiphtiaid am "ddyferyn gwyrthiol," a alwent "y Nucta," a syrthiai o'r lleuad ar ddydd penodol yn Mehefin, ar wlad Ethiopia; pa un oedd mor nerthol yn ei allu meddyginiaethol, ac mor rinweddol yn ei bêraroglau, fel y gwnelai i bob haint ddiflanu, i bob pla drengu, i bob afiechyd gilio draw, ac i'r ddaear a'r awyr ailfywiogi a lloni, yr awr y disgynai. Frodyr, yr hyn oedd chwedl yn nghoeldyb yr Aipht sydd wirionedd diledrith yn y grefydd Gristionogol. Yr hyn a briodolid yn anwireddus i Nucta yr Aipht, a ellir ei briodoli gyda sicrwydd diysgog i waed y groes. Mor rymus yw hwn yn ei rinwedd, fel nad oes na phla, na gelyn, a fedr ei wrthsefyll. Er cryfed y cadwynau a ddaliant yr enaid mewn caethiwed—er llïosoged yr heintiau a drigant yn y fynwes—er düed yr euogrwydd a orwedda ar y gydwybod, un defnyn o waed y groes a'u gwasgara oll. Nid oes na chadwyn na haint, llygredd nac euogrwydd, a fedr sefyll o'i flaen. "Yr ymadrodd am y groes, gallu Duw yw," er iachawdwriaeth. Mae hen efengyl y groes mor nerthol heddyw ag y bu hi erioed. Nid yw wedi colli trwy oed ddim o'i hoenusrwydd a'i nerth cyntefig. Gwyneba yn awr ar deyrnas y tywyllwch mor wrol a ffyddiog ag erioed. Dyrchafa ei baner yn ngwersyll y gelyn, ymafla yn ei gewri cadarnaf, a darostynga hwynt wrth y miloedd i'w hawdurdod ei hun.

Gwna drefn ar y byd yma cyn hir. Nid yn unig rhwystra y blaned grwydredig hon i ruthro ymhellach oddiwrth ei chanolbwynt, ond dwg hi yn ôl i'w chylch dechreuol, a phâr iddi eto droi mewn goleuni a gogoniant oddiamgylch gorsedd ei Chrëwr.

3. *Trwy ei angeu, dyosgodd farwolaeth o'i ddychrynfëydd, a chyfnewidiodd ef i angel gwasanaethgar a thrugarog.* Nid yw marwolaeth mwyach yn was yn llaw y diafol, i gymeryd ymaith blant dynion yn ddiwahân i wlad y gwae a'r ail farwolaeth, ond defnyddir ef yn awr gan Dywysog bywyd er cludo ei ganlynwyr adref o'r anial dir i'r orphwysfa dawel. Oddieithr angeu'r groes, ni fyddai gan farwolaeth ddim i wneuthur ond tori i lawr feibion a merched dynion, genedlaeth ar ol cenedlaeth, a'u cludo yn ddiwahaniaeth, fel *executioner* y diafol, i wlad yr wylofain a'r rhincian dannedd. Fel y cyfryw ymddangosai yn ddychrynllyd i bawb. Ond yn awr ni fêdd ar wir ddychryn i neb a dderbyniant yr Aberth, ac ni fêdd ar awdurdod i drosglwyddo neb i wlad y tywyllwch, ond y cyfryw a benderfynant fyned yno. Nid oes achos i'r un sant ofni angeu, yspeiliwyd ef o bob gallu i niweidio pan wnawd derbyniad o'r Iesu trwy ffydd. "Yr hwn y mae y Mab ganddo y mae bywyd ganddo." Gwir fod rhai duwiolion yn ofni angeu, ond golyga'r ofn angeu ei hun fel dymchwelwr y babell, ac nid ei ganlyniadau. Ni ofnant fyned i dŷ eu Tad, ond ofnant gyfyngder y bwlch trwy ba un y maent i fyned yno. Llawer dyn a deimla awydd i fyned allan i America neu i Australia; dymunai yn fawr fod yno, ond ofna y fordaith anghenrheidiol er myned yno. Y meddwl am ystormydd a'r tònau a grëa ynddo ddychryn. Dyna ddyn âg afiechyd wedi ymaflyd mewn un rhan o'i gorff. Er llwyr iachâd, rhaid tori yr aelod yna ymaith. Mae'r dyn yn awyddus am iachâd, ond ofna'r *amputation.* Felly rhai duwiolion: teimlant yn awyddus i dirio ar lànau y wlad well, ond ofnant y llifeiriant sydd rhyngddynt a hi. Yr afon a ymddengys yn ddu, oer, a thònog, ac ofnant ei chroesi. Ond amryw a gyfodant uwchlaw y teimlad hwn, ac a ganant ar eu pererindod, "Ie, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed." Rai gweithiau clywir yr hen gredadyn yn llefain, "O na b'ai i mi adenydd fel colomen! yna yr ehedwn ymaith ac y gorphwyswn. Brysiwn i ddianc,

pob melusder, gwywo pob blodeuyn, rhwygo pob mynwes. Ond, diolch! y mae dyddiau eu hanrhaith wedi eu rhifo. Mae tynghed eu teyrnas wedi ei selio. Mae eu Hymrysonwr wedi dyfod i'r maes, ac wedi tyngu, yn ngrym ei gariad, ei ddigter, a'i anfeidroldeb, "Byddaf angeu i ti, O angeu! byddaf dranc i ti, y bedd!" Mae'r orchest wedi ei gwneyd, ac fe fedir y ffrwythau yn llawn cyn hir. Ni fu erioed y fath anturiaeth â hon. Iesu a ymladdodd y frwydr, ac Iesu a gaiff y clod. Canmolir ymherawdwyr a choncwerwyr am beryglu eu bywydau, a gwneuthur aberthau, er rhyddhâu y gorthrymedig o afaelion trais a gormes. Molir Napoleon am ei wroldeb a'i ymdrech yn Magenta a Solferino i sicrhâu rhyddid Itali. Clodforir Garibaldi am ei ddewrder a'i ysbryd yn ei ymdrech ogoneddus i ddymchwelyd y *system* o ormes a gèrid ymlaen yn Sicily. Ond pan y byddo brwydrau Magenta a Solferino wedi eu claddu yn medd anghof, ac enw Garibaldi, y goreu o feibion Itali, wedi ei ostegu i ddystawrwydd tragywyddol, fe fydd enw'r Iesu yn felus, yn uchel, *ac* yn ogoneddus, ar fryniau anfarwoldeb.

Yn olaf, *Trwy ei angeu, sicrhäodd i'w ganlynwyr fynedfa i mewn i wlad y bywyd diderfyn, ynghyd a thragywyddol artrefle yno*. Ni châf ymhelaethu ar hyn. Frodyr! a oes genych ffydd yn y Gwaredwr? Os oes, meithrinwch tuag ato deimladau o ddiolchgarwch gwresog. Os oes, byddwch ddiwyd yn ei waith. Os oes, nac ofnwch angeu. Esgynwch i ben Pisgah, ac fel y gweloch y llifeiriant yn rhedeg wrth odre y mynydd, edrychwch ar yr arch a'r drugareddfa; rhanant y dyfroedd, ac agorant i chwi ffordd ddiangol i groesi yn iach i'r ochr draw. Edrychwch ar dir yr addewid yr ochr arall, ynghyd a'r Jerusalem newydd. Cysgodant eu hunain ar dònau y dwfn. Byddwch yno yn fuan i gydblethu eich caniadau â'r dorf waredigol, i

"Foli 'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angeu loes!"

---

GWELLIANT GWALLAU.

Tu dal. 45, llinell 22, gadawer allan y gair "bythol."
—— 52, llinell isaf, yn lle "gynnalia," darllener "gymer le."
—— 54, llinell 13 o'r gwaelod, yn lle "na rhedeg," darllener "nag ehedeg."
—— 55, llinell isaf, yn lle "maddeu," darllener "maedda."

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

## CYMERADWYAETHAU I'R GYFROL GYNTAF.

"LAMPAU Y DEML. Yn fy marn ostyngedig i, y mae y llyfr hwn yn deilwng, ac am hyny y mae yr enw yn gyfaddas. Mae y pregethau cynnwysedig ynddo yn "Lampau" dysglaer, yn rhoddi goleuni mawr, hyfryd, i lygad y meddwl; nes y mae y parth llwyd-dywyll o'r deml fawr ysbrydol, sef yr eglwys ar y ddaear, yn enwedig y cyntedd y mae Cymru yn gorwedd ynddo, yn oleuach o lawer o'u herwydd.

"Ar ol Rhagymadrodd byr a phwrpasol y Cyhoeddwr, cawn Ragdraeth tra synwyrol ac addysgiadol gan y Parch. O. Thomas, Llundain, yn y nodwedd o *pastor pastorum*, yn cynnwys athrawiaeth iachus iawn ar bregethu. Priodol y gellir galw y Rhagdraeth hwn yn "lamp," yn ei ffordd.

"Mae yn amlwg fod rhai o'r pregethau wedi eu talfyru ychydig, ond gellir meddwl eu bod trwy hyny yn burach fyth o ran eu sylwedd a'u cynnwysiad; tra y mae y lleill yn ymddangos fel pe byddent wedi eu rhoddi yn y llyfr *in extenso*. Gan gymaint yw amrywiaeth y materion, mae y llyfr yn taflu goleu hyfryd ar agos bob rhodfeydd y dichon meddwl y darllenydd fod yn hoff o gynniwair ar hyd-ddynt, i edrych ar drefn Gras a gorchwyliaethau Rhagluniaeth."

EBEN VARDD, *yn y* "DRYSORFA."

---

"'*Lampau y Deml.*'—Dymunem alw sylw ein darllenwyr at Gyfrol hardd o bregethau dan yr enw uchod, sydd newydd ei chyhoeddi. Cyfansoddwyd hwy gan amryw o brif weinidogion y Trefnyddion Calfinaidd; ac yn eu plith y mae un bregeth ragorol o waith y Parch. W. Rees. Gellir rhestru amryw o honynt ymhlith y radd uchaf o bregethau. Yr ydym yn ei hystyried yn gyfrol wir werthfawr."

"BANER AC AMSERAU CYMRU."—*Tach.* 9, 1859.

---

"I ddychwelyd eto at '*Lampau y Deml,*' nid oes genyf fi ond annog y darllenydd i daflu ei lygaid dros restr enwau y pregethwyr. Dyma nhŵ, ac y nhŵ ydyn' nhŵ. Mi gynnygiaf fi fod i'r Cyhoeddwr argraffu saith ar hugain eto, gael gwneyd y flwyddyn i fyny."

GLAN ALUN, *yn y* "FANER, &c."

---

"Mae y gyfrol hon yn ddangoseg teg o sefyllfa bresennol pregethu ymhlith y Methodistiaid yn Nghymru. Ceir ynddi anghreifftiau o bob dull—y barddonol, yr ymresymiadol, y cywrain, y melus, a'r mawreddog. Ni ddylai un Pregethwr fod heb astudio y Rhagdraeth, ac ni ddylai un teulu fod heb y llyfr; ac y mae yn ddiammeu y bydd llawer un wrth ddarllen y llyfr yma, yn teimlo math o

gysegredigrwydd ynglŷn âg ef, o herwydd mai trwy rai o'r geiriau sydd ynddo y cawsant afael ar y bywyd tragywyddol."

"YR YMWELYDD,"—*Tach.*, 1859.

---

"Nodwedd arall sydd yn perthyn i'r cyfansoddiadau hyn yw yr *ysbryd efengylaidd* sydd yn rhedeg trwyddynt. Y mae bywyd crefydd i'w deimlo ymhob pregeth bron. Nid traethodau sychlyd ydynt ar bynciau crefyddol, ond y mae enaid a bywyd yr efengyl yn cael ei ddwyn i gyfarfyddiad â chalon a chydwybod dyn. Yr ydym yn llawen o weled y wasg a'r pulpud, yn y gyfrol hon, wedi cydgyfarfod—y naill yn wasanaethgar i'r llall—y wasg yn adlewyrchu ar y pulpud. Nis gellir prisio y daioni a gynnyrchwyd trwy y pregethau hyn eisoes; ac y maent, yn y ffurf sydd arnynt yn bresennol, mewn mantais i chwanegu at y daioni hwnw."

*O'r* "LLENOR,"—*Chwefror,* 1860.

---

"Nid oes eisieu dyweyd rhagor am y Rhagdraeth i'r gyfrol ger ein bron, na hysbysu ein darllenwyr ei fod yn deilwng o Mr. Thomas, fel llenor dysgedig, ac un o bregethwyr galluocaf yr oes; nis gellir ei ddarllen yn bwyllog ac ystyriol, heb deimlo cynhesrwydd ychwanegol at y weinidogaeth, a mwy o *zel* dros achubiaeth eneidiau."

"SEREN CYMRU,"—*Ion.* 21, 1860.

---

"Yr unig un o'r pregethau hyn a glywsom yn cael ei thraddodi yw Rhif. 9. Yr ydym yn cofio yn dda yr argraff a wnaeth ar ein meddwl wrth wrando y Parch. W. Rees yn ei phregethu y tro cyntaf."

"Y DYSGEDYDD,"—*Mawrth,* 1860.

---

"Os nad peth newydd, fel y dywed Cyhoeddwr y gyfrol werthfawr sydd o'n blaen, ydyw ysgrifenu a chyhoeddi pregethau, y mae wedi myned yn beth lled ddyeithr i Gymru er ys blynyddoedd bellach; a chredwn fod yr anturiaeth bresennol yn gwneyd i fyny un o ddiffygion penaf llênyddiaeth grefyddol ein cenedl."

*O* "CHARLES O'R BALA."

---

"Dengys y gyfrol hon fod safon pregethu yn bur uchel yn y Dywysogaeth. Nid rhoddi enwau pregethau ar draethodau wedi eu darparu i'r wasg a ddarfu eu hawdwyr; ond pregethau a draddodwyd ganddynt, o'r fath ag a draddodir ganddynt bob Sabboth i gynnulleidfäoedd lliosog ydynt. Yr ydym wrth eu darllen fel pe byddem yn gweled gwedd ac yn clywed llais y pregethwyr eu hunain. Y mae y gyfrol hon yn argoeli yn dda gyda golwg ar y dyfodol."

*Yr* "HERALD CYMRAEG,"—*Hydref* 29, 1859.

---

Cyhoeddwr: DAVID WILLIAMS, Heol y Llyn, Caernarfon.

